# BARDDONIAETH YR YSGRYTHYRAU.

## TRAETHAWD

AR

NATUR, DYBEN A NODWEDDION

Y

# Farddoniaeth Ysbrydoledig;

WEDI EI

EGLURO GYDA DROS GANT O ENGREIFFTIAU ALLAN O'R BEIBL,

Gan SAMUEL WILLIAMS, Scranton, Pa.

HWN A DDYGODD Y BRIF WOBR YN

**Eisteddfod Utica, Ionawr 1, 1861.**

UTICA:
ARGRAFFWYD GAN T. J. GRIFFITHS, 131 GENESEE ST.
1863.

# BARDDONIAETH YR YSGRYTHYRAU.

## TRAETHAWD

AR

NATUR, DYBEN A NODWEDDION

Y

# Barddoniaeth Ysbrydoledig;

WEDI EI

HEGLURO GYDA DROS GANT O ENGREIFFTIAU ALLAN O'R BEIBL,

Gan SAMUEL WILLIAMS, Scranton, Pa.

HWN A DDYGODD Y BRIF WOBR YN

**Eisteddfod Utica, Ionawr 1, 1861.**

The world is full of Poetry—the air
Is living with its spirit; and the waves
Dance to the music of its melodies,
And sparkle in its brightness. Earth is veiled
And mantled with its beauty, and the walls.
That close the universe with crystal in,
Are eloquent with voices, that proclaim
The unseen glories of immensity,
In harmonies too perfect and too high
For aught but beings of celestial mould,
And speak to man, in one eternal hymn,
Unfading beauty, and unyielding power.—PERCIVAL.

UTICA:
ARGRAFFWYD GAN T. J. GRIFFITHS, 131 GENESEE ST.
1863.

# RHAGDRAITH.

Ymddengys i ni fod barddoniaeth yn un o brif ddewis-bethau plant dynion, o ddyddiau Moses a Job hyd y dydd hwn. Bu y Groegiaid a'r Rhufeiniaid braidd yn addoladwy am eu beirdd a'u barddoniaeth. Yr oedd Homer ac Anacreon yn mhlith y Groegiaid, Virgil a Horace gan y Lladinwyr, yn binaclau uchel a mawreddog, ac y mae Shakespeare a Milton yn golofnau cedyrn yn mhlith beirdd y Saeson, ac y mae genym ninau, y Cymry, feirdd, a fyddant yn pelydru gogoniant ar eu coffadwriaeth, ac anrhydedd ar ein cenedl tra byddo rhyddid gan blant yr awen i anadlu awyr y nefoedd. Y mae llawer llanerch yn "ngwlad ein tadau" yn blodeuo fel Saron dan wlith cynyddol ac iachusol Parnassus. Ond er holl odidawgrwydd beirdd anysbrydoledig y byd, y mae beirdd yr Ysgrythyrau yn tra rhagori arnynt oll. Y mae awen y beirdd anysbrydoledig yn rhedeg yn fâs a gwasgarog, ond y mae awen y beirdd cysegredig yn rhedeg yn afon fawr lifeiriol, eto nid yn afreolus na gorwyllt; y mae yn ddwfn, eto nid yw yn anamgyffredadwy; y mae yn unllif, ac heb fod yn cynwys gormod o unrhywiaeth golygfeydd, ac y mae y ffrydiau yn bur fel dyfroedd Siloa, yn tarddu dan furiau y cysegr.

Ychydig iawn o sylw a rydd Esbonwyr Cymreig y Bibl i'r ddawn brydferth hon, ac ni chlywir gair dros bwlput, na chan un athraw yn yr Ysgol Sabbothol o'r naill flwyddyn i'r llall, ac felly cedwir oddiwrth ein hieuenctyd y dosran gwerthfawr a blodeuog hwn o lenyddiaeth Ysgrythyrol.

YR AWDWR.

*Scranton, Pa., Rhag.* 20, 1861.

# CYNWYSIAD.

PENNOD III.

# ENGLYNION.

Barddoniaeth bur i ddenu—enaid yw
Y nod wyf yn garu,
A rhoi llaeth y Gair i'r llu
A wna iddynt gynyddu.

Boreuol ddull Hebreaidd—o roddi
Gwir addysg sydd weddaidd;
Pa ddyn fyth, pa ddoniau faidd
Ar win neu fêl mor nefolaidd.

YR AWDWR.

Llawnach yw llyfrgell awenydd—weithian
Casglai'r chwaethus Gwentydd
Geinion gwir Feirddion a fydd
Diau ar go'n dragywydd.

Arlwyad huliad helaeth—yw y frwd
Wledd fras, o ddarpariaeth
Hyfwyn a phrif Awen ffraeth
Deilwng o ysbrydoliaeth.

*New York.* GWILYM AB IOAN.

Mil groesaw Draithawd ar ieithwedd—ystwyth
Grymuster a mawredd
Gwaith beirddion LLYFR GWIRIONEDD;
Cymro fu'n arlwyo'r wledd.

Gan *Wentydd* cawn ogoniantau—awen
Hebrewyr hen oesau,
Eilient mewn nefol hwyliau
Dan nawdd wech eu Duw'n ddiau.

O hufen Duw—awenydd,—o rawnwin
Y bryniau tragywydd,
O ddiliau nef-addolydd,
Heb dawl f'en gwledda bob dydd.

Uwch ceinion beirddion pob byd,—uchel byth
Uwchlaw beirdd yr hollfyd,
Beirdd Y GAIR bia'r bwrdd i gyd
Anhafal eu dawn hefyd.

*Parisville, Pa* DEWI EMLYN.

Barddoniaeth bur ddywenydd—i ddyn,
A dyddanwch crefydd,
Yw sail y sylwadau sydd
Yn nheg antur dawn Gwentydd.

Daw clod o wybod dyben—a hanes
Barddoniaeth bur elfen;
Hwn yw y Bardd lwyddai'n ben
Yn nëol luniau Awen.

*Hydeville, Meh.* 16, 1863. IONORON GLAN DWYRYD.

PENNOD IV.

# BARDDONIAETH YR YSGRYTHYRAU.

## PENNOD I.

NODIADAU AR NATUR A CHYMERIAD BARDDONIAETH.

Wrth agor y bennod gyntaf o'r traithawd hwn, nis gallwn lai na theimlo ein bod yn gosod ein traed ar dir ansathredig, ar yr hwn y mae awduron yn aml yn taraw ar draws eu gilydd.

PA BETH YW BARDDONIAETH?

Er yr holl atebion a roddir i'r gofyniad hwn, nid yw y darllenydd nemawr gwell o honynt, ac y mae mewn cymaint petrusder wedi clywed llawer o'r atebion hyn a phe buasai heb atebiad o gwbl.

Y mae degau o'r rhai a ymgymerasant â'r swyddogaeth bwysig o feirniadu beirdd a barddoniaeth, mor groes idd eu gilydd o ran eu golygiadau am brydyddiaeth, nes y maent yn lladd enaid barddoniaeth, yn dinystrio yni barddonol, ac yn llindagu llawer bachgen gobeithiol.

> Butchers and villains, bloody cannibals,
> How many a plant have you untimely cropp'd.
>
> SHAKESPEARE.

Un yw elfen hanfodol barddoniaeth pob cenedl, eto y mae rhyw neillduolrwydd yn perthyn i farddoniaeth un genedl nad yw yn perthyn i farddoniaeth cenedl arall.

Rhenir barddoniaeth i ddwy ran, sef y *naturiol* a'r *gelfyddydol* Bodola y flaenaf yn y meddwl a'r syniadau, ond perthyna y ddiweddaf i'r cyfryngau hyny drwy ba rai y damlygir hwy. Y rhan *naturiol* a grea y corff, ond y rhan *gelfyddydol* a wna wisg brydferth am dano.

Oddiwrth hyn, gwelwn mai *darfeledd (imagination)* yw elfen flaenaf barddoniaeth, a bod y nodweddion yn amrywiol a lluosog.

Yn gymaint ag y gellir rhoddi gormod o'r peth hyn, neu brinder o beth arall yn ngwisg y syniad, y mae *barn* yn dyfod yn gymhwysder nas gellir gwneyd hebddo. Os bydd *barn* oddicartref, bydd mawredd ac ardderchawgrwydd oddicartref hefyd.

Gall dychymyg fod yn sail i farddoni arni os dewisir, ond rhaid i'r holl adeiladaeth fod yn gydfynedol ag anian.

Gall y darfelydd greu neu ddal o flaen ei feddwl bethau nad ydynt fel pe byddent, ond nid heb gymhorth anian, ïe holl greadigaethau y Duwdod os bydd y farn yn cymeradwyo eu galwad allan.

Megys ag nas gallasai Raphael na Michael Angelo enwogi eu hunain fel arlunwyr heb gymhorth lliwiau a llinellau anian, ac amrywiaeth da o honynt, felly hefyd nis gall y darfelydd goreu enwogi ei hun fel bardd os bydd yn amddifad o farn i iawn-arfer lliwiau a llinellau anian. Rhaid i fardd nid yn unig feddu llygaid i weled anian, ond hefyd lewder i gydfyned ag anian a chalon i'w theimlo. Dywed un o'r beirdd Seisnig:

"God makes a Poet, and man make verses."

Yr ydym o'r un farn ag ef yn gwbl. Y mae ein gwneuthurwr wedi rhoddi darfeledd i bob dyn, ond yn annghyfartal o ran graddau, ond gwaith y dyn ei hun yw llafurio am iaith, a dysgu rheolau barddoniaeth, ac ymgynefino a holl amgylchiadau y byd er ei alluogi i ddarlunio ei feddyliau yn briodol o flaen ei gyd-ddyn.

Y mae dychymyg afreolus bob amser yn ddinystr i wir farddoniaeth gysegredig. Hyn oedd yn gwneyd y beirdd Paganaidd i addoli "llu y nefoedd," a duwiau dychymygol, ïe, y mae barddoniaeth y Groegiaid a'r Rhufeiniaid yn greadigaeth o ofergoeledd gorphwyllog pan yr ymwnaent a'u duwiau a'u rhyfeloedd. Yr oedd y farddoniaeth Homeraidd yn fam i anfoesoldeb yr oesau, a lle bynag y byddai Homer mewn bri, byddai yno dduwiau, a theml heb dduw oedd pob ysgol heb Homer. Yr oedd Iau yn ddialgar, Gwener yn anllad a

Mawrth yn ymhyfrydu mewn twyallt gwaed, ac yr oedd addoli y duwiau hyn yn creu yr unrhyw dueddiadau yn meddyliau y bobl yn gyffredinol. Yr oedd meddwl am orchestion Mawrth mewn rhyfeloedd yn enyn tan fflamllyd yn nghalonau y bobl. Dacw Alexander Fawr yn cario delw o Achiles o'i flaen i dir Groeg, ac o dan y cynhyrfion gorphwyllog a deimlai oddiwrth weled y ddelw, gosododd fyrddiynau i orwedd yn eu gwaed.

Pe buasai yr hen-feirdd wedi cyfansoddi yn fwy dan lywodraeth barn gywir, buasai eu barddoniaeth o nodwedd hollol wahanol, a'r addysgiadau a dynid oddiwrth eu gweithion yn llawer gwerthfawrocach.

CYNGHANEDD MESUR AC ODL.

Nis gall Cynghanedd fod yn elfen hanfodol mewn barddoniaeth. Wrth gynghanedd yr ydym yn golygu cyfatebiad cydseiniaid a chyfnewidiad llafariaid.

Nid oes y fath beth a hyn yn perthyn i'r farddoniaeth Hebreig, ac y mae holl brif-feirdd y Cymry, o amser y Cadben William Middleton yn cydnabod y gellir ar farddoniaeth bur hebddynt, ac nis gwyddai beirdd Groeg, Rhufain, na Lloegr ddim am yr hualau caethiwus hyn.

Myn rhai mai mesur yw canolfur y gwahaniaeth rhwng barddoniaeth a rhyddiaeth; os felly, nis gall neb brofi fod barddoniaeth yn yr Ysgrythyrau. Myn eraill mai odl yw barddoniaeth; os felly, ni wyddai Moses, Dafydd, Esaiah, na neb o'r Beirdd Ysbrydoledig ddim am farddoniaeth. Nid oes mesur odl na chynghanedd yn yr Ysgrythyrau; nid oes odl yn "Ngholl Gwynfa" Milton, ac nid oes gynghanedd yn "Pope's Essay on Man."

Fel cydmariaeth ddarluniadol o farddoniaeth, eiddo Gilfilan yw y goreu, yn ol ein barn ni; ac fel darnodiad athronyddol o'r ddawn odidog hon, eiddo Creuddynfab syddfwyaf dewisol genym. Y mae y darnodiad fel y canlyn: "Barddoniaeth yw meddwl a theimlad wedi eu haddurno â darfeledd."

Yn ol y darnodiad uchod, gellir rhanu barddoniaeth yn dair rhan, sef, *meddwl*, *teimlad* a *darfeledd*. Cyn y gellir galw

unrhyw gyfansoddiad yn farddoniaeth, rhaid i'r meddyliau fod y fath oraf, a'r teimlad yn ddwys a phriodol i'r meddwl a natur y testyn, a'r darfeledd yn nerthol a galluog. Hefyd, y mae y darnodiad hwn yn cynnwys, y gall yr Ysgrythyrau di-fesur, diodl a digynghanedd fod yn farddoniaeth bur. Hefyd, y mae yn safon ddyogel, wrth ba un y gwybyddir a yw

"Pob peth a blethir
O'r un waed a'r awen wir."

Yn y bennod hon yr ydym wedi dangos beth, yn ol ein barn ni, yw hanfod barddoniaeth, ac yn awr, symudwn yn mlaen i sylwi ar y gwahanol arddulliau (*styles*) yn mha rai y mae Barddoniaeth wedi amwisgo.

Yn gyffredin, adnabyddir y gwahanol fathau o Farddoniaeth wrth yr enwau canlynol:

I. Y Fugeilgerdd, (*Pastoral.*)

Y peth cyntaf a welodd llygad bardd oedd anian yn ei han-eirif blygiadau. Yn nechreu amser, cyn bod celfyddyd wedi dangos ei hun, yr oedd llygad y bardd ar wrthddrychau anian, ac felly yr oedd ei feddyliau yn blaen, eglur a dirodres, ac yn cael eu trosglwyddo allan mewn iaith sathredig a hawdd ei deall. Cyfansoddodd *Virgil lawer o fugeilgerddi tlysion.

Hefyd y mae "Y Messiah" gan y Parch. D. S. Evans yn fugeileg brydferth. Efelychiad o Pope ydyw hon, wedi ei chyfansoddi ar ddull pedwaredd bugeileg Virgil, a'r syniadau wedi eu cymeryd allan o waith y Prophwyd Esaiah. Ond rhaid i bawb, o amser Virgil hyd yn awr roddi y blaen i Esaiah, Dafydd ac Amos.

II. Y Farddoniaeth Delynol, (*Lyrical.*)

Y math hwn o farddoniaeth gysegredig a gyfaddaswyd i'w canu gydag offerynau cerdd. Yn 1 Chronicl, cawn hanes am feibion Asaph, Heman a Jeduthun yn prophwydo gyda thel-ynau, nablau a symbalau. Chwareuid rhai o'r Psalmau ar y *Sasanim*, telyn chwe' thant; a rhai, megys 45ain, 60fed, 80ain

*Gwel Beattie's Poetical works.

a chwareuid ar y *Seminith*, telyn wyth dant; a rhai megys y 53ain a 88ain a chwareuid ar y *Mahalath*, chwythofferyn. Y 4ydd a'r 61ain a chwareuid ar y *Neginoth*, offer tanau. O'r rhywogaeth hon o farddoniaeth y deillia Englynion (*epigrams*), yr Arwrgerdd (*epic*), y Foesgan (*ethic*), a'r Fawlgerdd (*encomiastical*).

I'r Englynion y perthyna y Diarebion, a'r Caniadau a'r Psalmau tarawiadol hyny a genir o ddiolchgarwch i Dduw, yn y cyfrai yr amlygir teimlad calon y cyfansoddwr.

Yr Arwrgerdd a ddengys allan weithrediadau grymus a galluog unrhyw wron.

Yn y Foesgan y dysgir gwireddau crefyddol a moesol, ac y mae y Fawlgerdd yn llawn cân a moliant.

III. Y Farddoniaeth Hanesiol.

Y mae yr Hanesgerdd o ddau fath, sef:

1. Pryddest neu Awdl yn *rhoddi hanes* manwl am bersonau, amgylchiadau, dygwyddiadau, ac amser a dull cyfnewidiadau pethau a gwladwriaethau. Y mae y math yma o gerddi yn gwasanaethu fel cof-lyfrau i'r oesau dyfodol. Y mae y mwyafrau o Daniel wedi ei gyfansoddi yn y dull hwn.

2. Pryddest neu Awdl wedi ei chyfansoddi *oddiwrth hanesiaeth*, ac wedi ei gwisgo a'i haddurno a phob teithi barddonol.

Y mae llawer o'r beirdd Cymreig yn perthynu i'r dosbarth cyntaf; ond y mae y rhai a berthynant i'r olaf yn anaml.

Dichon na chyfeiliornem lawer pe y cofresem Eben Fardd yn ei "Ddinystr Jerusalem," Ambrose yn ei "Greadigaeth," Gwilym Hiraethog yn ei "Gantref y Gwaelod," yn sefyll yn uchel yn y dosbarth hwn; ond rhaid iddynt hwy ymostwng hyd lawr, a gosod eu llaw ar eu genau pan gano Asaph y 78ain Psalm, a Dafydd y 105ed a'r 106ed, a Salomon yr 135ed a'r 136ed. Darllened yr efrydydd y Psalmau uchod, fel y deallo beth yw godidawgrwydd barddoniaeth hanesiol.

IV. Y Farddoniaeth Hyfforddiadol.

Yn y cerddi hyfforddiadol, cynwysir egwyddorion gwyddoraeth a chrefydd, ac ynddynt y cyfleir addysg a chyfarwyddyd.

Drwy y cerddi hyn, gellir ymosod yn erbyn drygau yr oes, megys meddwdod, balchder, annghyfiawnder, &c. Ymosodai y diweddar Ddafydd Thomas, "Dafydd Ddu" yn erwin ar falchder yn y gân hon. Hefyd gellir gwneyd math o Draithawd prydyddol yn y dull hwn. Gwel "Pope's Essay on Man," ac Armstrong on "Health." Y mae llawer iawn o'r Psalmau o'r nodweddiad hwn. Mae y 19eg a'r 119eg, yn traethu ar ragoriaethau yr Ysgrythyrau. Mae y 39, 49, a'r 90, yn traethu ar wagder a breuolder dyn ; ac y mae y rhai canlynol: 1, 5, 7, 9, 10, 11, 12, 14, 15, 17, 24, 32, 34, 36, 37, 52, 53, 58, 73, 75, 84, 91, 92, 94, 112, 119, 121, 125, 127, 128, 133, yn traethu ar nodweddion dynion da a drwg; dedwyddwch y naill a thrueni y llall.

V. Y Farddoniaeth Alarnadol.

Y mae y Farddoniaeth Alarnadol o ddau fath.

1. Y cyfansoddiadau hyny a wneir mewn adfyd, gorthrymder a phrofedigaethau. Y mae bardd, fel pob dyn arall, wedi ei eni i flinder, a phan gyfansodda yn ei helbul, y mae ei gân yn llawn galar a thristwch.

Y mae Dafydd Ddu yn rhagorol yn y dosbarth hwn; a dichon yr esgusodir ni am roddi engraifft, fel y byddo gwell mantais i'r annghynefin â barddoniaeth i ddeall beth a olygir wrth alarnadau.

Y CREDADYN CYSTUDDIOL, &c.

"Boddloni wnaf i drefn fy Ner,
Dan bob rhyw flinder beunydd;
Fe ddichon droi fy chwerwaf gri,
A'm galar i lawenydd.

O dan y wialen os rhaid bod,
Nes cael fy sorod ymaith;
Fel aur a burir yn y tân,
Y deuaf allan eilwaith.

Crist ydyw'r meddyg mawr ei ddawn,
A ddichon iawn gymhwyso,
Pob rhyw gystuddiau ddel i'm rhan,
A gwneyd i'r cyfan lwyddo.

Er chwerwed yw pob cwpan llawn,
  Nid ydyw'n iawn bod hebddynt;
Cawn wel'd y cyfan er lleshad,
  Mae gwin o gariad ynddynt.

Mae'r Tad yn profi, mwy neu lai,
  Pob un o'r rhai a garo,
A'i olwg arnynt ddydd a nos,
  I'w dwyn yn agos ato.

A phan heneiddio'r corff o gnawd,
  A'n natur dlawd yn gwywo,
Gall ein dyn newydd fod, er hyn.
  Mewn ieuenctyd yn blodeuo.

Er bod cystuddiau blin ein hoes,
  Yn gwbl groes i natur;
Mae'n holl geryddon, a'u parhad,
  Yn llaw ein Tad wrth fesur.

Efe a ddichon eswythâu
  Dolurion angau diri',
A throi holl ddychryniadau'r glyn,
  A'r t'wyllwch yn oleuni."

Dyna engraifft odidog o galon yn teimlo gwasgfa meddwl, eto y mae yn gweled goleuni yn y tywyllwch; ond y mae y Salmydd yn tra rhagori ar bob galareb a wnaed erioed gan feirdd anysbrydoledig.

Darllener y Psalmau canlynol, 13, 22, 69, 77, 88, y rhai a brofant fod yr awduron yn isel mewn gorthrymder yn eu cyfansoddi. Y mae y Salmau canlynol, wedi eu cyfansoddi, pan oedd pobl yr Arglwydd dan erlidiau ac mewn gorthrymderau, 4, 5, 11, 28, 41, 55, 59, 64, 70, 109, 120, 140, 141, 142.

2. Galarnadau ar ol y meirw.

Yn mhlith y beirdd anysbrydoledig, y mae Blackwell ar ol Esgob Heber; W. Williams, Pantycelyn ar ol Rowlands, Llangeitho; Gwilym Hiraethog ar ol Williams o'r Wern, ac Ambrose ar ol "Pedwar Enwogion Cymru," yn rhagori.

Ond y mae Galareb Dafydd am Jonathan a Saul yn gwneyd holl alarnadwyr y byd yn ddiwerth. Gwelir yr Alareb hon yn niwedd y drydedd bennod.

VI. Barddoniaeth Ddarluniadol.

Dyma y farddoniaeth a ddengys fwyaf o athrylith a theithi awenyddol, ac o fywiawgrwydd a nerth darfelyddol. Yn y

farddoniaeth hon y mae yr ehediadau eryrol hyny a berthynant i feddwl cyflym a galluog, a'r darganfyddiadau hyny a berthynant i lygad craffus a threiddgarol. Y mae wedi ei gwisgo a'i haddurno â phob peth ceinwych; y mae oll yn brydferth. Dyma lle yr oedd Shakespeare yn ogoneddus. Y mae Dewi Wyn yn ei "Elusengarwch," Gwallter Mechain yn "Ngwledd Belsassar," Eben Fardd yn "Ninystr Jerusalem," a Gwilym Hiraethog yn ei Awdl ar "Heddwch," yn gynlluniau ardderchog o'r Farddoniaeth Ddarluniadol. Y mae yr olaf yn meddu y fath amgyffredion am symudiadau Satan i dori heddwch cysefin y Greadigaeth, yn gampwaith meddyliaeth ddesgrifiadol, a barddonol, ac nis gall Homer yn ei "Iliad," Milton yn ei "Goll Gwynfa," Shakespeare yn ei "Venus and Adonis," na Dafydd Ionawr yn "Nghywydd y Drindod," ddangos dim yn rhagori arno; ond y mae y beirdd ysbrydoledig yn tra rhagori arno yntau. Pwy erioed a ddaeth i fyny â "Chaniad Solomon"? Neb. Hefyd y mae Esaiah yn y 35ed bennod yn ogoneddus, ond pa ryfedd? gan mai Ysbryd Duw a roddodd yni, gwres a bywyd, yn enaid yr awdur. Y mae llawer o'r Psalmau yn ddarluniadol dros ben, megys y 46fed. Yn canlyn y mae engraifft odidog o farddoniaeth ddarluniadol, yn gosod allan greulondeb y Caldeaid tu ag at Jerusalem.

HABACCUC I: 6—12.

"Canys wele fi yn cyffröi y Caldeaid,
Cenedl greulawn a byrbwyll,
Yr hon a gerdd trwy amgylchoedd y wlad,
I feddiannu trigfanau, nid ei heiddo,
Ofnadwy ac arswydus a fydd—
O honi ei hun y daw ei hawl a'i huchelder;
Buanach na llewpartiaid fydd ei meirch,
Ac awchlymach na bleiddiaid yr hwyr;
Ac ymdaena ei marchogion;
Ie, ei marchogion o bell a ddeuant,
Ehedant fel eryr yn brysio i ddifrodi.
Yn gwbl er anrheithio y daw;
Gogwydd ei hwyneb fydd tua'r Dwyrain,
A chasgla gaethion fel tywod.
Breninoedd hefyd a wawdia,
A bydd tywysogion yn watwar iddi;

A phob caer a ddirmyga,
Ië, casgla lwch a goresgyna hi.
Yna adnewydda ei hysbryd,
Ac â trwodd ac a drosedda:
Hwn ei dewrder yn dduw iddi!"

VII. Y FARDDONIAETH ARWROL.

Y mae y ddull arwrol o farddoni, o nodwedd hanesiol, weithiau yn wirionedd llythyrenol ac weithiau yn ffugiol. Yn yr Arwrgerdd y gosodir allan orchestion personau neu gymdeithas o bobl, yn nghydag amgylchiadau y dygwyddiadau, ac addysgiadau cymhwysiadol oddiwrth y cwbl. "Iliad" Homer yw yr henaf ag a wyddom ni am dani. Arwrgerddi yw "Coll Gwynfa" Milton, "Comedy Dante," "Pollock's Course of Time," a Phryddest Eben Fardd ar yr "Adgyfodiad." Os ydym yn iawn yn ein heglurhad ar yr Arwrgerdd, gwelwn yn amlwg fod y math yma o farddoniaeth yn yr Ysgrythyrau. Y mae y 24ain Psalm o'r nodwedd arwrol, a dygir hi i mewn gan Eben Fardd yn y Bryddest ar yr "Adgyfodiad" yn daclus a naturiol iawn. Hefyd, y mae llawer o'r arwrgerdd yn y Psalmau 78, 105, 135 a 136.

---

## PENNOD II.

### NATUR AC ANSAWDD BARDDONIAETH FEL IAITH DROFAEGOL NEU DROELLOL.

Fel yr awgrymasom o'r blaen, fod pob peth mewn natur ac anian yn wasanaethgar i'r bardd, i'w gynorthwyo i amlygu ei feddwl.

Y mae barddoniaeth yn llawn o droellau, neu draws-symudiadau geiriol ac ymadroddol.

Pan fyddwn yn traethu ein meddyliau mewn iaith dröellol, yr ydym yn ymadael â geiriau ac ag ymadroddion yn eu hystyr cysefin a llythyrenol, ac yn rhoddi iddynt ystyrion benthyciol, a'n sail i wneyd hyny yw, tebygolrwydd a pherthynas; a'n hamcan yw harddwisgo y meddwl âg addurn ac ardderch-

awgrwydd, a thrwy hyny, enill gwrandawiad neu ddarlleniad astud a serchus. Y mae y tröellau hyn yn aml a lluosog.

I. Trawsymddwyn.

Trawsymddwyn yw symudiad gair o'i briodol ystyr i ystyr arall tebyg neu berthynasol; neu ynte arfer gair dyeithr yn lle yr un priodol, megys:

"*Llusern* yw dy Air i'm *traed*,
A *llewyrch* i'm *llwybrau*.—Ps. 119 : 105.

Gwelir fod y geiriau sydd yn ffurfio y Trawsymddwyn mewn llythyrenau Italaidd. Y mae "gair" Duw yn cael ei drawssymud yn "*llusern*" a "*llewyrch*," a'n ffordd drwy y bydd yn cael ei ddynodi yn y geiriau "*traed*" a "llwybrau."

II. Aralleg.

Aralleg yw parhad y Trawsymddwyn, a nodweddir hi yn fynych gan gyffelybiaeth, dammeg a dychymyg. Aralleg brydferth a chysegredig yw Caniad Solomon.

Mudaist *winwydden* o'r Aifft;
Bwriaist y cenedloedd allan a *phlenaist* hi
*Arloesaist* o'i blaen,
A pheraist i'w gwraidd wreiddio.
A hi a lanwodd y tir.
Cuddiwyd mynyddoedd dan ei chysgod;
A'i changenau oedd fel cedrwydd rhagorol.
Hi a estynodd ei changau hyd y môr,
A'i blagur hyd yr afon.—Psalm 80 : 8—11.

Yn y llinell gyntaf gelwir Israel yn "*winwydden*," gelwir ei throsglwyddiad a'i sefydliad yn Nghanaan yn "*blanu*" gelwir y ddarpariaeth fu ar gyfer Israel yn "arloesi," ac yn y blaen. Yn ol Henri Peri, rhaid fod drwy dröell o leiaf mewn Aralleg.

III. Trawsenwad.

Trawsenwad yw arfer y naill air am y llall, o herwydd perthynas neu debygolrwydd:

1. Enwir yr achos am yr effaith neu yr effaith yn lle'r achos.
2. Enwir y lle am y trigolion.
3. Enwir yr arwydd am yr hyn a arwyddoceir.
4. Enwir amser am yr hyn a ddygwyddo ynddo.

IV. CYFORDDWYN.

Cyforddwyn yw :

1. Enwi un am lawer.
2. Enwi llawer am un.
3. Enwi y cyfangwbl am ran.
4. Enwi yr holl hanfod am ran.
5. Enwi rhan am y cwbl.
6. Enwi rhif penodol am luaws.

V. GWATWARIAITH.

Gwatwariaith yw cyfnewid gair o'i ystyr priodol i air arall hollol wrthwynebol, neu ddweyd gair i amlygu rhywbeth hollol groes i'r hyn a fyddwn yn feddwl.

Hefyd, Gwatwareg yw gofyn rhywbeth i ryw un pan y gwyddom nas gall ei ateb, a hyny er dangos ei anwybodaeth, a'i wneyd yn fwy hunanymwadol. Gwatwariaith fynychaf yw prif nodwedd y Dychangerdd.

VI. GORMODIAITH.

Gormodiaith a arferir i ddarlunio pethau yn well neu yn waeth; yn is neu yn uwch nag ydynt mewn gwirionedd.

"Gwlawiodd gig fel llwch
Ac adar asgellog fel tywod y môr."—PSALM 78 : 27.

I arfer y drofäeg hon, rhaid meddu llawer o synwyr cyffredin, ac o chwaeth dda.

VII. CYFFELYBIAETH.

Cyffelybiaeth yw tebygoli y naill beth i'r llall er ei amlygu neu ei egluro :

"*Megys lili* yn mysg y *drain*
*Felly* y mae fy *anwylyd* yn mysg y *merched*."—CAN. 2 : 2.

Y mae y pennill uchod yn cynwys cyfebiaith eglur a barddonol, ac wedi ei chyfansoddi yn gyfochrog gyferbyniol, fel y gwel y deallus.

VIII. CYFERBYNIAD.

Cyferbyniad yw gosod y naill beth ar gyfer y llall er dangos y tebygolrwydd neu yr annhebygolrwydd ; megys :

"Anweddaidd yw i *ffol ymadrodd rhagorol:*
Mwy o lawer i *bendefig wefusau celwyddog*."—DIAR. 17 : 7.

Y mae y geiriau Italaidd yn y llinell gyntaf yn gyferbyniol i'r geiriau Italaidd yn y llinell ddiweddaf.

IX. DRINGEB.

Dringeb sydd fath o ymadrodd, drwy ba un y symudir o un radd i radd uwch, a'r meddwl yn grymuso fwy fwy wrth fyned yn mlaen.

X. DYNSODDIAD.

Dynsoddiad yw rhoddi neu briodoli nodweddion a gweithrediadau bywydol i wrthddrychau difywyd ; megys:

"Y mynyddoedd a'r bryniau a floeddiant ganu o'ch blaen,
A holl goed y maes a gurant ddwylaw."—ESA. 55 : 12.

XI. BYRIEITHIAD.

Mewn byrieithiad, cynwysir ymadrodd byr, cryno, cynwysfawr a phrydferth, pryd y dywedir llawer mewn ychydig ; megys :

"Defni parhaus ar ddiwnod gwlawog,
A gwraig anynad cyffelyb ydynt."—DIAR. 27 : 15.

Dyma ydyw prif nodweddion y Diarebion.

Y mae troellau iaith yn lluosog, ond afreidiol yw i ni enwi ychwaneg o honynt, nac aros yn hwy gyda y rhai a enwasom, o herwydd ein bod wedi sylwi digon arnynt i ateb ein dyben a'n gwasanaeth yn y traithawd hwn.

Megys ag y darllenir arwyneb y ddaiar yn ngholeuni yr haul, y darllenir meddwl Duw yn ei Air drwy y cydmariaethau. Pan y byddwn am ddangos gwrthddrych anadnabyddus i'n gilydd, byddwn yn goleuo lamp y cyffelybiaethau yn ei ymyl, yna gwelwn ef yn amlwg. Byddai y beirdd ysbrydoledig bob amser yn tynu eu cyffelybiaethau oddiwrth y pethau a'r amgylchiadau mwyaf adnabyddus a gwybyddus i'r mwyaf anllythyrenog o'r bobl. Os eir i "wlad bell," i ymofyn am wrthddrych neu amgylchiad dyeithr, nas gwyr y darllenydd ddim am dano, a'i osod yn gyffelybiaeth i egluro gwrthddrych neu amgylchiad arall, byddwn yn "tywyllu cynghor heb wybodaeth" ac yn gosod "dall i arwain dall,"

a byddwn yn gwneuthur y gwrthddrychau y byddwn yn traithu arnynt yn fwy annealladwy na phe buasem heb arfer cyffelybiaeth o gwbl.

Dosberthir y gwrthddrychau a'r amgylchiadau, oddiwrth ba rai y tynai yr Hebreaid eu cydmariaethau i bedwar math:

1. Gwrthddrychau naturiol.
2. Defodau, celfyddydau, ac amgylchiadau bywyd cyffredin.
3. Pethau cysegredig.
4. Yr hanesiaeth ddwyfol.

Fel rheol gyffredin, gellir sylwi y dylid wrth arfer y cyffelybiaethau ofalu fod y gwrthddrychau, y defodau, y celfyddydau, y gwisgoedd a'r hanesiaeth yn adnabyddus i'r bobl—bod ynddynt ddibyniad olynol a chyson, yr hyn a nodwedda ddammeg—fod pob peth, yn enwedig y meddylrithiau yn syml, eglur a chryno, ac yn dderbyniol gan y gwrandâwyr neu y darllenwyr, fel y byddai y symlrwydd a'r plaender hwn yn rhagfur uchel yn erbyn arucheledd chwyddgar, gormodiaith anfoneddigaidd, gerwinder ac ymffrostiaeth, (*bombast*).

Yn nesaf, nodwn ychydig o'r pethau ac o'r amgylchiadau hyny, y byddai y beirdd Hebreig yn arfer tynu eu cydmariaethau oddiwrthynt.

I. Goleuni.

Y mae yn naturiol i ddyn garu goleuni, "ac hyfryd yw i'r llygad weled yr haul." Y mae cysur dyn, a llwyddiant yr hyn sydd ganddo yn ymddibynu ar oleuni. Yr oedd holl oleuadau y nefoedd at wasanaeth y beirdd, i'w defnyddio yn gyffelybiaethau i egluro meddwl Duw i ddyn. Y mae goleuni yn arweinydd i ddyogelwch, a'r neb sydd yn rhodio mewn tywyllwch a ddaw i ddinystr. Dywed Dafydd, "Llusern yw dy air i'm traed," a dywed Hosea, "A'th farnedigaethau sydd fel y goleuni yn myned allan," a gelwir Crist yn "Oleuni y byd," ac arferir y goleuni yn arwyddlun am bob gwynfyd a llwyddiant. Dywed Dafydd:

"Yr Arglwydd yw fy ngoleuni, a'm hiachawdwriaeth,
Rhag pwy yr ofnaf?"—Psalm 27 : 1.

Mor ardderchog y darlunia Solomon ffordd a chynydd y cyfiawn:

"Llwybr y cyfiawn sydd fel y goleuni
Yn llewyrchu fwy fwy hyd ganol dydd."—DIAR. 4: 18.

A dywed Esaiah:

"Yna y tŷr dy oleuni allan fel y wawr,
A'th iechyd a dardda yn fuan;
A'th gyfiawnder a â o'th flaen;
Gogoniant yr Arglwydd a'th ddilyn.—ESA. 58: 8.

Goleuni Duw yw iechyd a bywyd dyn, a'i wênau a'i gwna yn fywiog a llwyddianus.

Mor brydferth y darlunia Esaiah lwyddiant yr eglwys:

"A bydd llewyrch y lleuad fel llewyrch yr haul,
A llewyrch yr haul fydd saith mwy,
Megys llewyrch saith niwrnod."—ESA. 30: 26.

Ond y mae y bardd craffus eryraidd hwn pan yn gweled dysgleirdeb gogoniant Duw, fel yn taflu y gydmariaeth o'r neilldu, am ei bod yn rhy anmherffaith i osod allan wynfydedigrwydd Sion; dywed, drwy drawsymddwyn:

"Ni bydd yr haul i ti mwyach yn oleuni y dydd;
A'r lloer ni rydd i ti ei dysgleirdeb yn y nos:
Eithr Jehofah fydd i ti'n oleuni tragywyddol,
A'th Dduw yn ogoniant parhaol,
Ni ddarfydd dy haul,
Ni threulia dy leuad:
Oherwydd Jehofah fydd i ti'n oleuni tragywyddol
A dyddiau dy alar a ddarfyddant.—ESAIAH 60: 19, 20.

Y mae y bardd yn gweled, ac yn cyhoeddi mai "goleuni yw Duw," a bod ei bresenoldeb i'r saint yn gwneyd haul a lleuad yn ddiwerth. Cawn Ioan yn llyfr y Dat. 21: 23, yn cymeryd i fyny y meddylrith hwn: "A'r ddinas nid rhaid iddi wrth yr haul na'r lleuad i oleuo ynddi, canys gogoniant Duw a'i goleuodd hi, a'i goleuni hi ydyw yr Oen."

II. TYWYLLWCH.

Y mae tywyllwch mor adnabyddus i ni ag yw goleuni, ond nid yw mor ddymunol bob amser. Megys ag y mae goleuni, yn cael ei arfer i ddarlunio dedwyddwch; felly hefyd, arferir tywyllwch i osod allan annedwyddwch. Dywed Jeremiah yn

nyfnder ei dristwch a'i alar mawr am ddinystr y lle santaidd:

"Myfi yw y gwr a welodd flinder,
Gan wialen ei ddigofaint ef.
I dywyllwch, ac nid i oleuni,
Yr arweiniodd ac y tywysodd efe fi.
Efe a'm gosododd mewn tywyll leoedd,
Fel y rhai sydd wedi marw er ys talm."—GALAR. 3: 1, 2, 6.

Y mae Jeremiah, yn y rhagolwg ar y barnedigaethau oedd i ddyfod ar Israel yn dywedyd:

"Rhoddwch ogoniant i'r Arglwydd eich Duw,
Cyn iddo ef ddwyn tywyllwch,
A chyn i chwi daro eich traed wrth y mynyddoedd tywyll;
A thra fyddoch yn dysgwyl am oleuni,
Iddo ef ei droi yn gysgod angau,
A'i wneuthur yn dywyllwch."—JER. 13: 16.

Y mae Zephaniah yn gweled diwrnod llidiog a thywyll ofnadwy yn goddiweddyd Juda:

"Agos yw mawr ddydd yr Arglwydd,
Agosha yn gyflym iawn;
Sef llais dydd yr Arglwydd;
Yno y bloeddia y dewr yn chwerw.
Diwrnod llidiog yw y diwrnod hwnw,
Diwrnod trallod a chyfyngdra,
Diwrnod dinystr ac anghyfanedd-dra,
Diwrnod tywyll a du,
Diwrnod cymylau a thew dywyllni."—ZEPH. 1: 14, 15.

"Tywyllwch ac nid goleuni yw dydd yr Arglwydd,
Oni bydd dydd yr Arglwydd yn dywyllwch, ac nid yn oleuni?
Yn dywyll iawn ac heb lewyrch ynddo."—AMOS 5: 18, 20.

Ychwanegwn un engraifft, lle y mae Ezeciel yn darlunio dinystr brenin yr Aifft:

"Ië, cuddiaf y nefoedd wrth dy ddiffoddi,
A thywyllaf eu ser hwynt:
Yr haul a guddiaf â chwmwl,
A'r lleuad ni wna i'w goleuni oleuo.
Tywyllaf uwch dy ben holl ddysglaer oleuadau'r nefoedd,
A rhoddaf dywyllwch ar dy dir medd yr Arglwydd."
EZECIEL 32: 7, 8.

## III. YSTORMYDD.

Yr oedd ystormydd o gorwyntoedd, gwlawogydd, mellt, taranau a chenllysg yn bethau tra adnabyddus yn y gwledydd Dwyreiniol, a byddai y beirdd Santaidd yn tynu eu cyffelyb-

iaethau oddiwrthynt, pan fyddai hyny yn wasanaethgar iddynt. Dywed Jeremiah am yr Arglwydd yn ei allu a'i fawredd:

"Pan roddo efe ei lais, bydd twrf dyfroedd yn y nefoedd,
Ac efe a wna i'r tarth ddyrchafu o eithafoedd y ddaiar;
Efe a wna fellt gyda'r gwlaw,
Ac a ddwg y gwynt allan o'i drysorau."—JER. 10: 13.

Ond y mae Elihu yn cario y darluniad yn mhellach; a dywed:

"Wrth hyn hefyd y cryn fy nghalon,
Ac y dychlama hi o'i lle.
Gan wrando gwrandewch ar swn ei lef,
Ac ar y sain a ddaw allan o'i enau ef.
Efe a'i hyfforddia dan yr holl nefoedd,
A'i fellt hyd eithafoedd y ddaiar.
Swn a rua ar ei ol ef,
Efe a wna daranau â llais ei odidowgrwydd,
Ac ni oeda efe hwynt, pan glywir ei dwrf ef.
Duw a wna daranau a'i lais yn rhyfedd,
Y mae yn gwneuthur mwy nag a wyddom ni."
JOB 37: 1—5.

Onid yw tynghed yr annuwiol, yn ol darluniad Dafydd yn ofnadwy iawn:

"Ac ar yr annuwiolion y gwlawia efe
Faglau tân a brwmstan, a phoethwynt ystormus,
Dyma ran eu phiol hwynt."—Ps. 11: 6.

Yr oedd y corwyntoedd yn gwlad Judea yn ofnadwy o ddychrynllyd; dadwreiddient goedwigoedd cyfain, chwythent y dyfroedd o'r llynoedd nes dynoethi eu gwaelodion, ysgubent bob peth o'u blaen i ddinystr. Weithiau nodweddid y tymhestloedd hyn gan dywyllwch, cenllysg a thân ofnadwy. Gyda pha fath nerth y mae Esaiah yn darlunio gelynion Israel yn cael eu gyru o flaen barnau Duw:

"Gwae dyrfa pobloedd lawer,
Fel twrf y môr y trystiant;
Fel swn dyfroedd lawer y trystia y bobl,
A Duw a'u cerydda hwynt,
A hwy a ffoant yn mhell,
Ac a erlidir fel peiswyn mynydd o flaen y gwynt,
Ac fel peth yn treiglo yn mlaen corwynt."—Es. 17: 12, 13.

O mor echrysol yw digofaint Duw yn y darluniad a rydd Dafydd o hono:

"Yna y siglodd ac y crynodd y ddaiar;
A seiliau y mynyddoedd a gynhyrfodd ac a ymsiglodd,
Am iddo ef ddigio.

"Dyrchafodd mwg o'i ffroenau,
A thân a ysodd o'i enau;
Glo a enynasant ganddo.
Efe hefyd a ostyngodd y nefoedd, ac a ddisgynodd,
A thywyllwch oedd dan ei draed ef."—Ps. 18: 7—9.

IV. Y Gwlaw a'r Gwlith.

Yr oedd gwlaw tymhorol a'r gwlith yn werthfawr yn y gwledydd sychion a diddwfr.

Ar ol i'r deheuwynt atal chwythu, ac i boethwynt ystormus y Dwyrain ddeifio a gwywo holl lesni y ddaiar, byddai cawodydd o wlaw maethlawn yn dra derbyniol: byddai y cornentydd yn llanw a'r afonydd yn chwyddo, a'r ffynnonau yn ymarllwys, a byddai y wlad sychedig yn cael ei dyfrhau, a chrëuid llawenydd ac adfywiad drwy yr holl wlad. Mor brydferth y darlunia Esaiah lwyddiant teyrnas Crist:

"Yr anialwch a'r anghyfaneddle a lawenychant o'u plegid;
Y diffaethwch hefyd a orfoledda, ac a flodeua fel rhosyn.
Gan flodeuo y blodeua,
Ac y llawenycha a llawenydd ac â chân;
Gogoniant Libanus a roddir iddo
A godidawgrwydd Carmel a Saron.
Dyfroedd a dorant allan yn yr anialwch,
Ac afonydd yn y diffaethwch,
Y crasdir poeth a fydd yn llyn,
A'r tir sychedig yn ffynnonau dyfroedd,
Ac yn nhrigfa y dreigiau a'u gorweddfa,
Y tyf porfa gyda'r corsenau a'r brwyn."—Esa 35: 1, 6, 7.

Mor ddymunol yn amser hâf yw y gwlith, ac y mae yn ffigur da i ddangos ffafr y brenin:

"Llid y brenin sydd megys rhuad llew ieuanc;
Ond ei ffafr ef sydd megys gwlith ar laswellt."—Diar. 19, 12.

Y mae bendithion i'r saint, o drigo fel brodyr yn nghyd, fel gwlith Hermon yn disgyn ar fynydd Sion:

"Wele, mor ddaionus, ac mor hyfryd
Yw trigo o frodyr yn nghyd,
Fel gwlith Hermon,
Ac fel gwlith yn disgyn ar fynyddoedd Sion."—Ps. 133: 12.

Y mae Hosea yn gosod allan gynydd a llwyddiant y duwiol, drwy ei gydmharu i'r cynydd a achosir gan y gwlith naturiol:

"Byddaf fel gwlith i Israel;
Efe a flodeua fel y lili,

Ac a leda ei wraidd megys Libanus.
    Ei geinciau a gerddant,
A bydd ei degwch fel yr olew-wydden,
A'i arogl fel Libanus.'—HOSEA 14 ; 5, 6.

V. COEDYDD A LLYSIAU.

Yn mhellach, cawn fod y beirdd ysprydoledig yn tynu eu cyffelybiaethau oddiwrth goedydd, llysiau a chynyrch y ddaiar.

Yr oedd gwlad Canaan yn ddiarebol am ei gwinwryfoedd, disgynodd llawer i ran Juda; yr oedd iddo ddigon o winwydd i rwymo ei ebolion a'i asenod wrthynt, fel y dywedodd Jacob wrtho:

"Yn rhwymo ei ebol wrth y winwydden,
A llwdn ei asen wrth y berwinwydden,
Golchodd ei wisg mewn gwin,
A'i ddillad yn ngwaed y grawnwin.—GEN. 41 : 11.

Plenid y gwinwydd yn gyffredin ar ochrau y bryniau, yr hyn a ddyry briodoldeb i'r dywediad fod y mynyddoedd yn dyferu gan win.

Y mae Joel ac Amos yn defnyddio ffrwyth y gwinwydd, yn gydmhariaeth i ddangos llwyddiant yr Eglwys:

"A'r dydd hwnw y bydd i'r mynyddoedd ddefnynu meluswin."
JOEL 3 : 18.

"A'r mynyddoedd a ddefnynant feluswin,
A'r holl fryniau a doddant."—AMOS 9 : 13.

I wr tyner, a thad gofalus, y mae y darluniad canlynol o wraig a phlant yn ddymunol:

"Dy wraig fydd fel gwinwydden ffrwythlawn,
Ar hyd ystlysau dy dŷ.
A'th blant fel planigion olew-wydd
O amgylch dy ford.—Ps. 128 : 3.

I dynu y gwin o'r gwinwydd, arferid eu sathru dan draed mewn celwrn, a lle yn y gwaelod iddo redeg allan. Defnyddir hyn gan Esaiah mewn iaith nerthol iawn, i ddangos goruchafiaeth Crist ar ei elynion:

"Pwy yw hwn yn dyfod o Edom,
Yn goch ei ddillad o Bosrah?
Hwn sydd hardd yn ei wisg yn ymdaith yn amlder ei rym.
Myfi yr hwn a lefaraf mewn cyfiawnder,
Ac wyf gadarn i iachâu.

Paham yr ydwyt yn goch dy ddillad,
A'th wisgoedd fel yr hwn a sathrai mewn gwinwrŷf?
Sethrais y gwinwrŷf fy hunan,
Ac o'r bobl nid oedd un gyda mi;
Canys mi a'u sathraf hwynt yn fy nig,
Ac a'u mathraf hwynt yn fy llidiowgrwydd;
A'u gwaed hwynt a daenellir ar fy nillad;
A'm holl wisgoedd a lychwinaf.
Canys dydd dïal sydd yn fy nghalon,
A blwyddyn fy ngwaredigion a ddaeth."—Es. 63: 1—4..

## VI. Mynyddoedd.

Yr oedd y beirdd cysegredig yn hoff iawn o dynu eu cydmariaethau oddiwrth fynyddoedd a bryniau, yn eu huchder, oed, maint; eu cedrwydd, gwinwydd, olew-wydd, a'u blodeu; ac y maent wedi eu defnyddio gan Ysprydoliaeth yn ffiguran tlysion a phrydferth i osod allan lawer o bethau. Yr oedd Libanus wedi ei addurno a chedrwydd cedyrn a nerthol, ac yr oedd yn ymddangos yn brydferth; ac y mae Solomon yn defnyddio yr olygfa brydferth hon i osod allan ardderchawgrwydd a chadernid mawreddog Crist; dywedai fod

"Ei wynebpryd fel Libanus,
Mor ddewisol a chedrwydd."—Can. 5: 15.

Hefyd y mae mynyddoedd a bryniau yn cael eu defnyddio yn gydmariaethau o deyrnas y Messiah ac o deyrnasoedd a galluoedd cedyrn, y rhai a safant yn ffordd llwyddiant yr Efengyl; megys:

"A bydd yn y dyddiau diweddaf,
Fod mynydd tŷ yr Arglwydd wedi ei barotoi yn mhen y mynyddoedd,
Ac yn ddyrchafedig goruwch y bryniau;
A'r holl genedloedd a ddylifant ato."—Esaiah 2: 3.

"A bydd yn niwedd y ddyddiau,
I fynydd tŷ yr Arglwydd fod wedi ei sicrhau yn mhen y mynyddoedd;
Ac efe a ddyrchefir goruwch y bryniau;
A phobloedd a ddylifant ato.
A chenedloedd lawer a ânt, ac a ddywedant,
Deuwch ac awn i fyny i fynydd yr Arglwydd,
Ac i dŷ Duw Jacob."—Mic. 4: 1, 2.

Y mae nodi allan yr holl bethau, ag y tynai yr Hebrëaid eu cyffelybiaethau oddiwrthynt yn llawer gormod gwaith i ni, ac fe allai mai anfuddiol fyddai gwneyd hyny yn y traithawd hwn;

ond nodwn ychydig engreifftiau eto, o gyffelybiaethau a dynir oddiwrth hanes creadigaeth y byd, y dylif a gwaredigaeth Israel o'r Aifft, a rhoddiad y ddeddf ar Sinai.

VII. Creadigaeth y Byd.

Nis gall y cyffelybiaethau a dynir oddiwrth hanes y cread, y dylif neu waredigaeth Israel o'r Aifft, fod haner mor brydferth a grymus i ni ag oeddynt i'r Hebreaid, y rhai oeddynt yn byw ac yn bod yn y lleoedd a nodir, ac yn llygad dystion o lawer o ddygwyddiadau cyffröus a hynod. Y mae Jeremiah yn gweled Juda dan farnedigaeth drom yn ymddatod ac yn ymollwng i sefyllfa afluniaidd, wag ac anhrefnus y gymysgfa (*chaos*) gyntefig, ac O! mor annymunol yw:

"Mi a edrychais ar y ddaiar,
Ac wele afluniaidd a gwag oedd;
Ac ar y nefoedd,
A goleuni nid oedd ganddynt.
Mi a edrychais ar y mynyddoedd,
Ac wele! yr oeddynt yn crynu,
A'r holl fryniau a ymysgydwent.
Mi a edrychais, ac wele nid oedd dyn,
A holl adar a nefoedd a giliasant
Mi a edrychais, ac wele'r doldir yn anialwch,
A'i holl ddinasoedd a ddistrywiasid
O flaen Jehofa, gan lidiawgrwydd ei ddigter ef.
Jer. 4: 23—26.

Y mae Esaiah yn darlunio anghyfanedd-dra Judea yn nerthol iawn, oddiwrth hanes y dylif:

"Wele yr Arglwydd yn gwneuthur y ddaiar yn wag,
Ac yn ei diffwyno hi;
Canys efe a ddadymchwel ei hwyneb hi,
Ac a wasgar ei thrigolion."—Esa. 24: 1.

"Aeth y prif-ffyrdd yn ddisathr,
Darfu cyniweirydd llwybr:
Galarodd a llesgaodd y ddaiar;
Cywilyddiodd Libanus, a thorwyd ef;
Saron a aeth megys anialwch,
Ysgydwyd Basan a Charmel."—Esa. 33: 8, 9.

"Oherwydd ffenestri yr uchelder a agorwyd,
A seiliau y ddaiar sydd yn crynu.
Gan ddryllio yr ymddrylliodd y ddaiar,
A chan rwygo, ymrwygodd yn ddarnau,
A chan symud, symudwyd y ddaiar o'i lle."
Esa. 24: 18, 19.

Y mae Dafydd yn ei gystudd, yn gwaeddi:

"Achub fi, O! Dduw,
Canys y dyfroedd a ddaethant i mewn at fy enaid.
Daethum i ddyfnder dyfroedd,
A'r ffrwd a lifodd drosof.
Na lifed y ffrwd ddwfr drosof,
Ac na lynced y dyfnder fi;
Ac na chaued y pydew ei safn arnaf."—Ps. 69: 1, 2, 15.

Gwaredigaeth Israel o'r Aifft, a gwaredigaeth pobl yr Arglwydd yn gyffredinol, a ddefnyddir gan yr ysgrifenwyr Santaidd yn gyffelybiaethau ardderchog. Y mae Asaph yn darlunio daioni Duw i Jacob a Joseph, a'i nerthol weithredoedd tu ag atynt o'r Aipht i Ganaan:

"Tydi yw y Duw sydd yn gwneuthur rhyfeddodau;
Dangosaist dy nerth yn mysg y bobloedd.
Gwaredaist â'th fraich dy bobl,
Meibion Jacob a Joseph.
Y dyfroedd a'th welsant O! Dduw, y dyfroedd a'th welsant:
Hwy a ofnasant; y dyfnderau hefyd a gynhyrfwyd.
Y cymylau a dywalltasant ddwfr:
Yr wybrenau a roddasant ddwfr;
Dy saethau hefyd a gerddasant.
A'th lwybrau yn y dyfroedd mawrion;
Ac nid adwaenir dy ôl.
Tywysaist dy bobl fel defaid, trwy law Moses ac Aaron."
Ps. 77: 14—17, 19, 20.

Oddiwrth oruchafiaeth Israel ar yr Aiphtiaid yn y Môr Coch, dwfr y graig, &c., y mae Esaiah yn darlunio y cysuron a'r ffafrau y mae yr Arglwydd yn eu rhoddi i'w blant:

"Fel hyn y dywed yr Arglwydd,
Yr hwn a wna ffordd yn y môr,
A llwybr yn y dyfroedd cryfion;
Yr hwn a ddwg allan y cerbyd a'r march, y llu a'r cryfder;
Cydorweddant, ni chodant:
Darfuant, fel llin y diffoddasant.
Na chofiwch y pethau o'r blaen,
Ac nac ystyriwch y pethau gynt:
Wele fi yn gwneuthur peth newydd:
Yr awr hon y dechreu; oni chewch ei wybod?
Gwnaf ffordd yn yr anialwch,
Ac afonydd yn y diffaethwch.
Bwystfil y maes, y dreigiau, a chywion yr estrys,
A'm gogoneddant;
A'm roddi o honof ddwfr yn yr anialwch,
A'r afonydd yn y diffaethwch,
I roddi diod i'm pobl, fy newisedig.—Esa. 43: 16—20.

Hefyd darlunir barnau Duw ar yr annuwiolion, a gwaredigaeth pobl yr Arglwydd drwy yr olygfa arswydus ar Sinai yn rhoddiad y ddeddf:

"Canys wele yr Arglwydd yn dyfod o'i le;
Efe hefyd a ddisgyn ar uchelderau y ddaiar.
A'r mynyddoedd a doddant dano ef,
A'r glynoedd a ymholltant fel cŵyr o flaen y tân,
Ac fel y dyfroedd a dywelltir ar y goriwaered."
MIC. 1: 3, 4.

Y mae Dafydd yn darlunio yr Arglwydd yn cerdded o flaen ei bobl, gan ddywedyd:

"Pan aethost, O! Dduw o flaen dy bobl,
Pan gerddaist trwy yr anialwch;
Y ddaiar a grynodd,
A'r nefoedd a ddyferasant o flaen Duw:
Sinai, yntau a grynodd o flaen Duw, sef Duw Israel."
Ps. 68: 7, 8.

Eto, cawn Dafydd yn gweddïo ar i Dduw ei wared o law ei elynion:

"Arglwydd, gostwng dy nefoedd, a disgyn:
Cyffwrdd a'r mynyddoedd, a mygant.
Saetha dy fellt, a gwasgar hwynt;
Ergydia dy saethau, a difa hwynt."—Ps. 144: 5, 6.

Y mae Deborah, yn ei chân orchestol, wedi dystrywio Jabin a'i luoedd, yn tynu ei chyffelybiaethau oddiwrth amgylchiadau tebyg i'r un blaenorol.

Y mae y ddaiar yn crynu dan ei thraed, y nefoedd yn dyferu uwch ei phen, a'r mynyddoedd yn toddi o flaen yr Arglwydd. Y mae yr hyn a deimlai Eliphas wrth weled gradd o Santeiddrwydd Duw, yn "ofn a dychryn," yr hyn a wnai i flew ei gnawd sefyll, ac i'w holl esgyrn grynu. Pan y mae Job yn myned i'r bedd, y mae yn myned i ardal o'r hon nid oes neb yn dychwelyd; i dir tywyllwch, a chysgod angau.

Pa mor fawreddog, nerthol, darluniadol, teimladwy a phrydferth yw yr holl syniadau hyn? y maent wedi eu llanw a bywiogrwydd, gwylder, a phurdeb dwyfol, ac yn amlygiadau ysblenydd o wybodaeth, doethineb, a choethder meddyliau ac iaith y rhai a lefarasant, megys ag y cynhyrfwyd hwy gan Yspryd Duw.

# PENNOD III.

## AM Y CYMERIADAU.

I. Am y cymeriad llythyrenol—Y Salm Fawr—Galarnad Jeremiah.
II. Am y Cymeriadau Cyfochrog—Graddiadol—Cyferbyniol—Cyd-rediadol—a Mewn-ogwyddol.

### I. AM Y CYMERIADAU LLYTHYRENOL.

Dangosasom yn flaenorol y gellir ar farddoniaeth heb gynghanedd, a bod rhyw neillduolion yn perthyn i farddoniaeth pob cenedl; felly perthyna i'r farddoniaeth Ysgrythyrol y pethau hyny a elwir yn gymeriadau.

Y mae math o gymeriadau yn perthynu i'r farddoniaeth Gymreig; ond y maent oll, oddigerth y cymeriad synwyrol yn perthyn i lythyrenau a chynghanedd, tra y mae cymeriadau y farddoniaeth Hebreig, oll braidd, yn perthynu i'r meddwl a'r syniad, ac o ganlyniad yn cynwys llawer mwy o amrywiaethau, ac yn fwy ardderchog.

Cymeriad llythyrenol, yw bod o un gydsain yn dechreu pob llinell mewn pennill; megys:

"Mewn gardd y cafodd dyn ei dwyllo,
Mewn gardd y rhoed addewid iddo;
Mewn gardd bradychwyd Iesu hawddgar;
Mewn gardd amdöwyd ef mewn daiar."
R. AB GWILYM DDU.

Er mwyn egluro pa beth yw y cymeriad llythyrenol hwn y soniwn am dano, rhoddwn un engraifft eto:

"Byddaf angau i ti o angau, &c."

"Poenau a gofid, ein pen a gafodd,
Poen a du lafur, pan y dolefodd,
Poen i'w gorff anwyl, pan y gorphenodd,
Poen a loesau mawrion pan lesmeiriodd,
Poenau, arteithiau a'i tôdd,—a diau,
Poenwyd yr angau ei hun pan drengodd."
R. AB GWILYM DDU.

Ni buasem yn son dim am y cymeriadau hyn, oni buasai eu bod yn perthyn i farddoniaeth yr Ysgrythyrau. Yn ol y dull hwn o farddoni y cyfansoddwyd

*Y Salm Fawr, sef y 119eg.*—Rhenir y Salm hon, sef 119, yn

ddau-ar-hugain o ddarnau, sef darn ar gyfer pob un o lythyrenau yr Egwyddor Hebrëig. Y mae pob darn yn cynnwys wyth adnod. Y mae pob adnod yn y darn cyntaf yn dechreu â'r llythyren gyntaf o'r Egwyddor Hebraeg sef, *Aleph*. Y mae pob adnod yn yr ail ddarn yn dechreu â'r ail lythyren, sef, *Beth*, ac felly yn y blaen, nes myned dros yr holl lythyrenau.

*Galarnad Jeremiah.*—Cyfansoddwyd yr Alarnad ardderchog hon mewn cymeriad llythyrenol.

Y mae pob adnod drwy yr holl alarnad yn bennill cyfan.

Yn y ddwy bennod gyntaf, y mae pob adnod yn cynnwys tair llinell bob un. Y mae llinelli yr adnod gyntaf yn dechreu â'r *Aleph*, sef y llythyren gyntaf o'r Egwyddor Hebraeg: y mae llinelli yr ail adnod yn dechreu â'r *Beth*, sef yr ail llythyren; ac felly yn y blaen, nes myned dros y cwbl. Gwel y darllenydd, mai dwy adnod-ar-hugain sydd yn mhob un o'r ddwy bennod gyntaf, sef yr un nifer ag sydd o lythyrenau yn yr iaith Hebraeg.

Y mae y drydedd bennod yn cael ei hattroi (*repeat*) dair gwaith, yr hyn a chwydda rifedi y pennillion i dri ugain a chwech. Y mae y bedwaredd a'r bumed bennod yr un fath â'r ddwy gyntaf, ond mai dwy linell sydd yn mhennillion y bedwaredd, ac nad yw llinellau y bumed mor hir a'r lleill, nac yn dechreu â'r llythyrenau Hebrëig mor reolaidd.

Oddiwrth hyn, gwelwn fod cywreinrwydd hyd yn nod i'r farddoniaeth Ysgrythyrol, ond y mae y fantais a ddyry hyn i ddysgu a chofio yr adnodau neu y penillion yn rhoddi cyfrif am dano, ac yn cyfreithloni ei arferiad.

II. Am y Cymeriadau Cyfochrog.

Yn y dull hwn o farddoni, rhoddir y llinellau yn gyfochrog, (*parallel*,) y naill linell yn deillaw o'r llall, yn ei chyfnerthu ac yn eglurhad arni. Golyga y cyfochredd hwn gydraddoliaeth, tebygoliaeth a chydfynediad llinellol, fel ag i osod meddyliau a syniadau tebyg yn gyferbyniol i'w gilydd: ïe, bydd yma gyferbyniad cystrawenol yn fynych; sef, enw ar gyfer

enw; ansoddair ar gyfer ansoddair; berf ar gyfer berf; gorair ar gyfer gorair, &c.

Yn gyffredin, dosberthir y cymeriadau cyfochrawl i bedwar math:

1. *Y Cyfochredd Graddiadol.*—Cyfochredd Graddiadol yw, bod y llinellau yn cynnwys gwahanol ac amrywiol raddau, yr hyn a elwir yn gyffredin, Esgyniaeth, neu Ddringeb, *(climax,)* megys:

"Pwy a *esgyn* i *fynydd* Jehofah?
A phwy a *saif* yn ei *le santaidd* Ef?
Y *glan ei ddwylaw* a'r *pur ei galon.*"—Ps. 24: 3, 4.

Yma, y mae y gair "*saif*" yn gorphen y gwaith o "*esgyn,*" ac y mae ei "*le santaidd ef*" yn egluro cymeriad "*mynydd Jehofah.*" Y mae "*y glân ei ddwylaw*" yn perthynu i'r llinell gyntaf, ac yn atebiad i'w gofyniad, Y mae y "*pur ei galon*" yn perthynu i'r ail linell, ac yn ffurfio atebiad iddi, a gellir cyfleu yr adnodau hyn yn bennill Cymraeg tlws fel hyn:

Y glân ei ddwylaw,
A esgyn i fynydd Jehofah,
A'r pur ei galon
A saif yn ei le santaidd Ef.

Neu yn chwareuyddol *(dramatical)* fel hyn:

Pwy a esgyn i fynydd Jehofah?
Y glân ei ddwylaw.
Pwy a saif yn ei le santaidd Ef?
Y pur ei galon.

"Ceisiwch Jehofah tra gellir ei gael Ef.
Gelwch arno tra fyddo yn agos."—Esa. 55 : 6.

Yn y llinell gyntaf, anogir ni i geisio Jehofah, ar y tir ei fod i'w gael; y mae y llinell olaf yn ein hanog i alw arno ar ol ei gael, neu tra fyddo yn agos.

"Gadawed y drygionus ei ffordd,
A'r gwr anwir ei feddyliau,
A dychweled at Jehofah, a thrugarha wrtho,
Ac at ein Duw ni, oblegid efe a amlha faddeuant."
Esa. 55 : 7.

Yn y llinell gyntaf, cymhellir y "drygionus," yr hwn sydd bechadur cyhoeddus, i adael ei "ffordd," ac yn yr ail linell, gelwir ar yr "anwir," yr hwn sydd ddirgel ac anamlwg i adael

ei "feddyliau," ac y mae ein "Duw ni," yn y llinell olaf yn anogaethol yn lle "Jehofah" mawr ac ofnadwy yn y llinell olaf ond un, ac addewir trugaredd, maddeuant ac arbediad helaeth. I'r "drygionus" cyhoeddus, y mae "Jehofah" yn addaw "trugaredd;" ac i'r anwir," y mae "ein Duw ni" yn rhoddi "maddeuant ac arbediad helaeth." Trugaredd ar gyfer aflendid y fuchedd, a maddeuant ar gyfer euogrwydd yr anwiredd.

Y mae y cyfochredd i'w weled yn amlwg yn y penill isod:

1 "Jehofah a edrych i lawr o'r nefoedd,
3 Mae'n gweled holl blant dynion;
2 O breswyl ei drigfa yr edrych efe
4 Ar holl drigolion y ddaiar."—Ps. 33. 13, 14.

Y mae y llinell gyntaf yn cyfochri â'r drydedd, a'r ail â'r bedwaredd.

1 "Dy briod yw yr hwn a'th wnaeth,
3 Jehofah y lluoedd yw ei enw—
2 Dy waredydd hefyd yw Sanct Israel—
4 Duw'r holl ddaiar ei gelwir ef."—Esa. 54 : 5.

Er mantais i'r darllenydd ganfod y cyfochredd, trawsosodwn ef, ac ymddengys yn dlws iawn:

1 "Dy briod yw yr hwn a'th wnaeth,
2 Dy waredydd hefyd yw Sanct Israel;
3 Jehofah y lluoedd yw ei enw,
4 Duw'r holl ddaiar ei gelwir ef."

1 "Jehofah ddyddima gynghor y cenedloedd,
3 Dyddima amcanion y bobloedd;
2 Ond cynghor Jehofah a saif yn dragywydd,
4 A meddyliau ei galon drwy'r holl genedlaethau."
Ps. 33: 10, 11.

Un engraifft eto:

"O! wynfydau y dyn hwnw,
Ni *rodia* yn *nghynghor* yr *annuwiolion*,
Ni *saif* yn *ffordd pechaduriaid*,
Nid *eistedd* yn *eisteddfa gwatwarwyr*."—Ps. 1 : 1.

Yn y pennill uchod y mae dwy ddringeb brydferth, un yn perthynu i *nodweddion*, a'r llall yn perthynu i *agweddau*. Y *nodweddion* ydynt "annuwiolion," "pechaduriaid," a "gwatwarwyr." Yr *agweddau* ydynt, "rhodio," "sefyll" ac "eistedd."

Y mae bod yn "annuwiol" yn arwain yn anocheladwy i fod yn "bechadur" neu yn *droseddwr cyhoeddus*, ac y mae y "pechadur" cyhoeddus wrth ymarfer (rhodio) yn dyfod yn "watwarwr" digywilydd o Dduw a'i achos. Y mae "rhodio yn nghynghor yr annuwiolion" yn dysgu ac yn hyfforddi, *(training)* i sefyll yn "ffordd pechaduriaid," ac y mae "ffordd pechaduriaid" yn arwain i gadair y "gwatwarwr."

2. *Y Cyfochredd Cyferbyniol.*—Yn ol y dull hwn o farddoni rhoddir un llinell yn gyferbyniol i linell arall, a bydd y syniadau yn wrthgyferbyniol; megys:

"*Ffyddlon* yw *archollion* y *caredig;*
Ond *twyllodrus* yw *cusanau* y *digasog.*"—DIAR. 27 : 6.

Yn yr engraifft dlos uchod, gwelir fod "ffyddlon" yn wrthgyferbyniol i "twyllodrus," "archollion" yn wrthgyferbyniol i "cusanau," a "digasog" yn wrthgyferbyniol i "caredig." Dyma brif nodwedd barddoniaeth y Diarebion. Yn nghân Hannah, y mae cynllun ysblenydd o'r dull Hebrëig hwn o farddoni; wele ef:

"Bwaau y cedyrn a dorwyd,
Gwregyswyd y gweiniaid â nerth.
Ymgyflogodd y digonol er bara,
Y newynog a beidiasant a newynu.
Yr anmhlantadwy a esgorodd ar saith,
A'r aml ei meibion a lesgâodd."—1 SAM. 2 : 3, 4.

Weithiau bydd y cyferbyniad yn digwyddo cydrhwng y llinell gyntaf a'r drydedd, a rhwng yr ail a'r bedwaredd, ac yn y blaen i'r diwedd; megys:

1 "Y mynyddoedd a giliant,
3 A'r bryniau a symudant;
2 Ond fy nhrugaredd ni chilia,
4 Cyfammod fy hedd ni syfl."—ESA. 54 : 10.

I weled y cyferbyniad yn amlycach, darllener ef fel hyn:

1 "Y mynyddoedd a giliant;
2 Ond fy nhrugaredd ni chilia.
3 Y bryniau a symudant;
4 Ond cyfammod fy hedd ni syfl."

"Ateb arafaidd a ddettry lid;
Ond gair garw a gyffry ddigofaint."—DIAR. 15 : 1.

Yma y mae "*ateb arafaidd,*" yn cyferbynu â "*gair garw,*" ac a "*ddettry lid*" yn cyferbynu i "*gyffry ddigofaint.*"

> "Tafod y synwyrol a draetha wybodaeth;
> Ond genau y ffyliaid a dywalltant ffolineb."—DIAR. 15 : 2.

Yn yr engraifft ddiweddaf, cyferbynir *tafod* a *genau, synwyrol* a *ffyliaid, traethu* a *tywallt,* a *gwybodaeth* a *ffolineb.*

Weithiau, er gwneyd y cyferbyniad hwn yn fwy dealladwy, dygir gair pennodol o un linell i'r llinell nesaf ati ar ei hol, fel hyn:

> "Doethineb y call yw deall ei ffordd ei hun,
> Ond ffolineb y ffyliaid yw twyll."—DIAR. 14 : 8.

Yn yr engraifft hon, dygir y gair *deall* o'r llinell gyntaf i'r olaf; a bydd y meddwl yn gyflawn ac eglur, fel hyn:

> "Doethineb y call yw deall ei ffordd ei hun,
> Ond ffolineb y ffyliaid yw (*deall*) twyll."

| | | |
|---|---|---|
| 1 | "*Adah a Silah* | clywch fy llais, |
| 2 | *Gwragedd Lamech*) | gwrandewch fy lleferydd : |
| 3 | *Mi a leddais wr* | i'm harcholl, |
| 4 | *Gwr ieuanc* ) | i'm clais ; |
| 5 | *Os Cain a ddielir* | seithwaith. |
| 6 | *Yna Lamech* ) | saith ddengwaith a seithwaith." |

GEN. 4 : 23, 24.

Y gair a ddygir yn mlaen yn yr engraifft uchod yw "*a ddielir,*" felly darllena y ddwy linell olaf fel hyn:

> "*Os Cain a ddielir* seithwaith,
> *Yna Lamech a ddielir*) saith ddengwaith a seithwaith."

Hefyd os na ddarllenir dim ond y geiriau *Italaidd,* gwelir yn hawddach, fod yr ail linell yn dywedyd wrthym pwy oedd *Adah a Silah,* sef *gwragedd Lamech* ac y mae y bedwaredd linell yn rhoddi i ni gymeriad y *gwr* a laddwyd yn y drydedd linell, sef "*gwr ieuanc.*"

3. *Y Cyfochredd Cydrediadol.*—Y mae y cyfochredd hwn yn golygu cyffelybrwydd, cydfynediad, undeb, a chyfatebiad cydrhwng yr holl ymadroddion.

Nid yw y cyfochredd hwn yn annhebyg i'r "cymeriad synwyrol," yn nghaeth-fesurau ein cenedl ni ein hunain. Rhaid darllen yr ail linell cyn y cawn allan synwyr y gyntaf, a rhaid

darllen y drydedd linell cyn cael allan synwyr yr ail, ac felly yn y blaen i ddiwedd y pennill, fel hyn:

"Yr hyn a fynai'r Arglwydd,
Hyny a wnaeth yn y nefoedd a'r ddaiar,
Yn y môr a'r holl ddyfnderau.

Y mae yn codi tarth o eithafoedd y ddaiar,
Y mellt a wnaeth yn nghyda'r gwlaw,
Gan ddwyn y gwynt o'i drysorau,"—Ps. 135 : 6. 7.

Hefyd, y mae yr engraifft uchod, yn ddau Driban. I egluro ychydig yn mhellach ar y tribanau hyn, rhoddwn yr engraifft ganlynol:

"Gofynwch, a rhoddir i chwi;
Ceisiwch, a chwi a gewch;
Curwch, ac agorir i chwi.

Pob un sydd yn gofyn, sydd yn derbyn;
A'r neb sydd yn ceisio, sydd yn cael;
I'r hwn sydd yn curo, yr agorir."—Mat. 7 : 7, 8.

Yn y triban cyntaf o'r engraifft olaf, y mae yr anogaethau yn bersonol a neillduol; ond yn y triban diweddaf, y maent yn gyffredinol.

Y mae ysbrydoliaeth wrth symud o'r naill driban i'r llall, hefyd yn symud, oddiwrth addewidion at egwyddorion, ac oddiwrth neillduolrwydd at gyffredinolrwydd.

Ychwanegwn un engraifft, yn cynnwys cyferbyniad geiriol:

1 "Y cleddyf oddi allan,
3 A dychryn oddi fewn,
2 A ddyfetha'r gwr ieuanc a'r wyryf,
4 Y plentyn sugno a'r gwr *briglwyd."—Deut. 32 : 25.

Y mae y llinell gyntaf yn cyfochri â'r drydedd, ac y mae yr ail linell yn cyfochri â'r bedwaredd. Hefyd gellir cysylltu "*a ddyfetha'r* gyda'r llinell olaf, fel hyn:

1 "Y cleddyf oddi allan,
2 A ddyfetha'r gwr ieuanc a'r wyryf;
3 A dychryn oddi fewn
4 A ddyfetha'r plentyn sugno a'r gwr briglwyd."

Dyna engraifft dros ben o brydferth. Y mae y gwr ieuanc a'r wyryf yn hoender ac yn ngrym ieuenctyd, yn y maes neu yn yr heol, yn cael eu dyfetha gan arfau dinystriol, a'r plentyn

* Saesonaeg, *gray hairs*.

sugno, a'r hen wr gwallt-wyn, y naill o herwydd babandod, a'r llall o herwydd hen ddyddiau, yn methu myned allan o'u preswylfeydd, yn cael eu dyfetha â dychryn. Eto:

1 " Canys nid yr hwn sydd yn yr amlwg sydd Iuddew,
4 Ac nid enwaediad yw yr hyn sydd yn yr amlwg yn y cnawd:
2 Eithr yr hwn sydd yn y dirgel sydd Iuddew;
5 Ac enwaediad y galon sydd yn yr yspryd, ac nid yn y llythyren:
3 Yr hwn y mae ei glod, nid o ddynion, ond o Dduw."
RHUF. 2: 28, 29.

Gwelir fod y llinellau 1af, 3ydd a'r 5ed yn cyfochri a llinellau yr 2il a'r 4ydd, a bod y 3ydd linell yn barhad o synwyr y llinell 1af, a bod y 4ydd linell yn barhad o synwyr yr 2il linell.

Trawsosodwn y llinellau hyn eto yn ol cyfarwyddyd y ffigurau yn nechreu y llinellau fel hyn :

1 " Canys nid yr hwn sydd yn yr amlwg sydd Iuddew;
2 Eithr yr hwn sydd yn y dirgel sydd Iuddew,
3 Yr hwn y mae ei glod, nid o ddynion, ond o Dduw.
4 Ac nid enwaediad yw yr hyn sydd yn yr amlwg yn y cnawd,
5 Ac enwaediad y galon sydd yn yr yspryd, ac nid yn y llythyren."

Neu fel hyn:

1 "Canys nid yr hwn sydd yn yr amlwg sydd Iuddew,
2 Yr hwn y mae ei glod o ddynion:
3 Eithr yr hwn sydd yn y dirgel sydd Iuddew,
4 Yr hwn y mae ei glod o Dduw.
5 Ac nid enwaediad yw yr hyn sydd yn yr amlwg yn y cnawd.
5 Ac enwaediad y galon sydd yn yr yspryd, ac nid yn y llythyren."

Eto:

1 " Ond bydd yn niwedd y dyddiau
2 Y bydd mynydd tŷ Jehofah
3 Yn cael ei osod yn ben i'r mynyddoedd;
4 A dyrchefir ef uwchlaw y bryniau;
5 A phobloedd a ddylifant ato,
6 Ac â cenedloedd lawer,
7 A dywedant,
8 Deuwch, ac esgynwn i fynydd Jehofah,
9 Ac i dŷ Duw Jacob;
10 A dysg i ni ei ffyrdd,
11 A rhodiwn yn ei ddeddfau.
12 Canys o Sion y daw allan gyfraith,
13 A gair Jehofah o Jerusalem."—MIC. 4: 1, 2.

Neu fel hyn:

" Ond bydd yn niwedd y dyddiau
Y bydd mynydd tŷ Jehofah

Yn cael ei osod yn ben i'r mynyddoedd;
A dyrchefir ef uwchlaw y bryniau;
A phobloedd a ddylifant ato } A dywedant,
Ac â cenedloedd lawer, }
Deuwch ac esgynwn { i fynydd Jehofah,
{ i dŷ Duw Jacob;
Canys o { Sion y daw allan gyfraith,
{ Jerusalem y daw gair Jehofah."

O holl farddoniaeth yr Hebrëaid, yr un gydrediadol yw y symlaf, ond y mae ei phlaender yn ei gwneyd yn llawn mor fawreddog ag un o'r dulliau ereill.

4. *Y Cyfochredd Mewn-ogwyddol.*—Y mae y cyfochredd hwn wedi ei drefnu i'r llinell gyntaf i gyfochri â'r llinell ddiweddaf, a'r ail linell i gyfochri â'r llinell olaf ond un, ac felly yn y blaen, nes gorphen yn y canol, fel hyn mewn pennill o wyth llinell:

1 "Delwau y cenedloedd ydynt arian ac aur,
3 Gwaith dwylaw dyn.
5 Genau sydd iddynt, ond ni lefarant;
7 Llygaid sydd iddynt, ond ni welant;
8 Clustiau sydd iddynt, ond ni chlywant;
6 Yn eu genau ychwaith nid oes anadl.
4 Fel hwynt y mae y rhai a'u gwnant
2 A phob un a ymddiriedo ynddynt."—Ps. 135 : 15—18.

Oddiwrth yr engraifft hon, gwelwn fod y cyfochredd yn gogwyddo o'r ddau ben i'r canol, fel hyn:

Yn y llinell gyntaf y mae yr *eilunod*, ac yn y llinell ddiweddaf y mae yr *addolwr*. Yn yr ail linell y mae *gwneuthuriad* yr eilunod, ac yn y llinell ddiweddaf ond un, y *gwneuthurwr*. Yn y drydedd linell y mae *genau* heb *lafar*, ac yn y llinell olaf ond dwy *genau* heb *anadl*. Yn y bedwaredd linell y mae *llygaid* heb *weled*, ac yn y llinell nesaf ati yn y canol y mae *clustiau* heb *glywed*.

I egluro y cyfochredd hwn yn mhellach, rhoddwn bennill tlws o bedair llinell:

1 "Fy mab, os dy galon di fydd doeth,
3 Fy nghalon inau a lawenycha;
4 Ië, fy arenau a grychneidiant,
2 Pan draetho dy wefusau di gyfiawnder."—Diar. 23 : 15, 16.

Y mae *calon ddoeth* yn y llinell gyntaf yn cyfochri â *gwefusau cyfiawnder* yn y llinell ddiweddaf, ac y mae *calon yn*

H

*llawenychu* yn yr ail linell yn cyfochri ag *arenau yn crych-neidio* yn y drydedd llinell.

Yn ddiweddglo ar y bennod hon, y mae Galareb Dafydd am Jonathan a Saul:

*Cyfochredd Mewn-ogwyddol.*

1 " O ardderchawgrwydd Israel!
3 A archollwyd ar dy uchelfaoedd dy hun?
2 Pa fodd y cwympodd y cedyrn?"

*Cyfochredd Cyferbyniol.*

1 Nac adroddwch hyn yn Gath,
3 Na fynegwch yn heolydd Ascelon;
2 Rhag llawenychu merched y Philistiaid,
4 Rhag gorfoleddu o ferched y dienwaededig."

*Cyfochredd Cydrediadol.*

1 " O fynyddoedd Gilboa,
2 Na foed gwlith na gwlaw arnoch,
3 Canys yno y bwriwyd ymaith yn ddirmygus
4 Darian y cedyrn, tarian Saul,
5 Arfogaeth yr hwn a eneiniwyd ag olew."

*Cyfochredd Cyferbyniol.*

1 " Oddiwrth waed rhyfelwyr,
3 Oddiwrth frasder y cedyrn,
2 Bwa Jonathan ni thrôdd yn ol,
4 Cleddyf Saul ni ddychwelodd yn wag."

*Cyfochredd Cydrediadol.*

1 Saul a Jonathan,
2 Oeddent yn eu bywyd gariadus ac anwyl,
3 Ac yn eu marwoldeb nis gwahanwyd."

*Cyfochredd Cyferbyniol.*

1 " Cyflymach oeddent na'r eryrod
2 Cryfach oeddent na'r llewod."

*Cyfochredd Cydrediadol.*

1 " Merched Israel, wylwch am Saul,
2 Yr hwn a'ch dilladai chwi ag ysgarlad hyfryd,
3 Yr hwn a addurnai eich gwisgoedd ag aur.

1 Pa fodd y cwympodd y cedyrn?
2 Yn nghanol y rhyfel.

1 Jonathan, ti a laddwyd ar dy uchelfaoedd!
2 Yr wyf mewn gofid am danat, fy mrawd Jonathan!

3 Cu iawn fuost genyf fi.
4 Rhyfeddol oedd dy gariad tu ag ataf,
5 Tu hwnt i gariad gwragedd.

1 Pa fodd y cwympodd y cedyrn!
2 Ac y dyfethwyd arfau rhyfel!"—2 SAM. 1: 19—27.

Dyna y darn gwerthfawrocaf o farddoniaeth alarnadol a feddwn, y mae pob llinell yn llawn o deimlad byw, o yni a nerth meddyliol a darfelyddiad tra anghyffredin. Os dewisir, gellir darllen yr alareb hon yn ol cyfarwyddyd y rhifnodau yn nechreu y llinellau.

## PENNOD IV.

I. Nodion ar y Llyfrau Barddonol, sef Job—Y Psalmau—Y Diarebion—Y Pregethwr a Caniad Solomon. II. Nodiadau ar Farddoniaeth y Proffwydi. III. Nodiadau ar Ganau Moses—Deborah a Barac—Hannah—Mair—Zachariah—Simeon.

### I. NODION AR Y LLYFRAU BARDDONOL.

1. *Job.*—

"Job oedd, y mae'n wybyddus,
Wr duwiol o ardal Us;
Canai emyn cyn Homer,
Eiliai bwnc cyn Virgil ber."

Os yw henafiaeth yn ychwanegu rhywbeth at deilyngdod awdurwaith rhaid i eiddo y rhyfeddaf o blant dynion gael y flaenoriaeth.

Y mae y cyfansoddiad hwn o Farddoniaeth Gysegredig yn destyn myfyrdod pob Beibl-ddarllenydd sylwgar. Myn rhai mai ffugdraith Ysprydoledig ydyw, tra y myn eraill mai dammeg brydferth ydyw, yn gosod allan wireddau pwysig a thra hynod. Eraill a'i galwant yn gasgliad mawr o ffeithiau anarferol a dyddorol, yn seiliedig ar amgylchiadau profadwy, ac nad oedd Job ei hun ond arwr i'r chwedl. Myn ereill gyda gwell rhesymau ei fod yn berson gwirioneddol, ac wedi myned yn llythyrenol drwy yr holl amgylchiadau tra dyeithr a ddarlunir mor farddonol yn y llyfr sydd ar ei enw.

Y mae barddoniaeth Job yn orlawn o bryderwch, eto y mae yn fywiog, ac yn cynwys cysur i'r truenus, a dyddanwch i'r helbulus. Y mae ei iaith yn orwech a grymus, ac arucheledd ei feddylrithiau braidd yn anghydmarol.

Yn ol Young, dyma y farddoniaeth ardderchocaf ar gôf a chadw. Yn ol y Parch. Howard Malcom, D.D., dyma y brydyddiaeth hanesiol aruchelaf, a mwyaf mawreddog, amrywiaethol a tharawiadol. Dammegol a moesaidd yw ei arddull braidd drwyddo.

2. *Y Psalmau.*—Enw Hebraeg y llyfr hwn yw Llyfr Emynau Dafydd; Brenin a Pheraidd Ganiedydd Israel yw awdwr y rhan luosocaf o lawer o'r Salmau. Cyfansoddodd Moses, Heman, Solomon, Asaph, Hezecia, Daniel a meibion Cora, ac eraill, rai o honynt. Athanasius a eilw y llyfr hwn yn "Grynodeb o'r holl Ysgrythyrau." Basil a'i geilw yn "Fyr gasgliad o gyflawn Dduwinyddiaeth." Luther a'i geilw yn "Feibl Bychan," ac yn "Swm yr Hen Destament," ac ystyriai Melancthon ef y teleidiaf o holl ysgrifeniadau yr holl fyd.

Nid Saron yn unig yw y llyfr hwn, lle nad oes ond rhosynau; ond maes ëang ydyw, yn orlawn o bob blodeu dewisol. Nid adeilad o feini gwerthfawr unlliw ac unllun ydyw, ond colofn fawr y gwirionedd ydyw, ac ynddi bob math o feini amliwiog a lluosffurfiog.

"O gaboliaeth ysbrydoliaeth Duw."

Nid cadwen rymus, ddolen yn nolen o ymresymiadau didor, fel llawer o ysgrifeniadau Apostol mawr y cenedloedd ydyw, ond cadwen fodrwyog ydyw o'r "aur coeth da."

Y mae y Psalmau yn amrywio yn eu harddull; y mae rhai o honynt yn ddammegol, ereill yn chwareuyddol *(dramatical)*, ereill yn foesaidd *(ethic)*, ereill yn ddarluniadol *(descriptive)*, ereill yn allegol *(allegorical)*, ereill yn arwrol *(heroic)*, ereill yn hanesiol ac addysgiadol, ac oll wedi eu trefnu idd eu canu a'u chwareu gydag offerynau cerdd.

Y mae llawer o'r Psalmau yn nerthol iawn, ac yn nodweddol gan rymusder meddyliol. Perseinid y Caniadau Duwiol-

frydig hyn gan hen breswylwyr y Tabernacl, treiddiai eu swn perorol i nen gysegredig y Deml. Datgenid hwy gyda gorfoledd ar fynyddoedd Seion, a chyda thristwch a galar ar finion afonydd Babilon, ac wedi i'r Tabernacl beidio, a'r Deml golli ei gogoniant, ac i'r gwasanaeth Iuddewig golli ei urddas, ac i'r Archoffeiriaid golli eu hamddiffyn dwyfol, yr oedd telyn Dafydd mewn hwyl o hyd "gan y deuddeg" yn yr oruwchystafell yn Jerusalem, ac oddiar pan ganwyd yr emyn gyntaf yno, y mae eu sain wedi myned drwy yr holl ddaiar, a'u peroredd hyd eithafoedd y byd. Y mae cyfansoddiadau y bardd breninol wedi gwisgo Seion â llondid, ac wedi llenwi geneuau "plant bychain" â moliant. Clywid eu swn yn mröydd Asia, ac ar fynyddoedd Arabia; yn nyffrynoedd dyfnion yr Alpiau gan y Waldensiaid, ac yn nghelloedd creigiau ucheldir yr Alban. Yr oeddent yn gathlau hyfryd yn ngeneuau yr Ymgyfammodwyr Albanaidd, a chrëynt lawenydd a digrifwch i'r Tadau Pererinol ar Plymouth Rock, Mass., ac yn ngwyllt goedwigoedd gwlad machlud haul mewn modd cyffredinol.

O'r Psalmau y cymerwyd yr Hilel, a genid yn ngŵyl y Pasg. Gwedi dwyn i mewn yr oen rhostiedig, y dail surion, &c., cenid cyfran o'r Hilel, neu y fawlgan, sef Ps. 113, 114, ac ar ol bwyta, cenid y gweddill o'r Hilel, sef Ps. 115—118, ac weithiau estynid y gwasanaeth drwy ganu yr Hilel fawr, sef Ps. 120—137.

3. *Llyfr y Diarebion.*—Diareb yw dywediad byreiriog, synwyrlawn a ffraethlym, mewn dull barddonol, yn cynnwys gwers fuddiol, yn hawdd ei deall a'i chofio. Y mae y llyfr hwn yn gasgliad ehelaeth o'r diarebion tlysaf a arferid gan yr Iuddewon.

Solomon yw awdwr agos yr oll o honynt. Cyfansoddodd Agur a Lemuel ychydig, fel y gwelir yn niwedd y llyfr. Casglwyd a threfnwyd y gwaith gan Eseciah. Cyfansoddodd Solomon ei Ddiarebion yn nghanol ei oes, pan oedd ei fab Reoboam yn ieuanc ac mewn perygl o gael ei hudo i ddinystr gan wragedd anniwair. Amcan yr holl lyfr yw hyfforddi ac add-

ysgu dynion yn ngwireddau dirgeledig gwir ddoethineb ac ofn yr Arglwydd, ac y mae yr addysgiadau byreiriog, ffraethlym a barddonol hyn, yn tra rhagori ar holl foeswersi doethion y byd.

4. *Llyfr y Pregethwr.*—Y mae Llyfr y Pregethwr yn gyfansoddiad barddonol, wedi ei gyfansoddi pan oedd yr awdwr wedi myned yn hen, ac wedi gweled y byd yn ei ŵg a'i wên, ac wedi profi mai "gwagedd oedd pob peth dan yr haul." Y mae yn rhoddi darluniad prydferth a naturiol o arddangosion anian a'i hachosion, ac o drefnidedd y corff dynol a thrwy hyn, dengys fod iddo lygad i weled anian, a bod ganddo fedrusrwydd yr athronydd yn gymhwysder i dreiddio drwy natur.

Y mae tueddiad y gwaith yn ardderchog, gyda pherffaith eglurder a datguddiad o wireddau am farn a sefyllfa ddyfodol, ac nad oes dedwyddwch mewn dim o bethau y byd hwn; ac y mae prydferthwch a godidawgrwydd yn argraffedig ar y syniadau ysbrydoledig hyn.

5. *Llyfr Caniad Solomon.*—Y mae y llyfr hwn yn gân gysegredig o waith yr un gwr anrhydeddus ag a gyfansoddodd y ddau lyfr blaenorol, sef Solomon, Gelwir y ganiad hon yn "Gân y Caniadau," am ei bod yn rhagori ar bob cân arall.

Dywedir wrthym fod caniadau yr athrylithrfardd hwn yn fil a phump, ond nid yw Rhagluniaeth wedi gweled yn ddoeth gadw ar gôf ond y gân fawreddog hon.

Aralleg ysprydoledig ydyw, yn gosod allan yr undeb agos a chariadus a fodola rhwng Crist â'i ddyweddi, drwy yr undeb sydd rhwng y priodfab a'r briodasferch naturiol.

Nid oedd yr Iuddewon yn caniatâu i neb dan ddeg-ar-hugain oed ei gweled.

II. Y Prophwydi.

1. *Esaiah.*—O herwydd fod Esaiah yn llawnach o ddwyster, urdduniant ac arucheledd, ac yn fwy cyfeiriol ac amlwg yn ei ragfynegiadau, ac yn helaethach ei gynnwysiad, rhoddir iddo yr anrhydedd o fod yn mlaenaf yn rhestr y Prophwydi.

Y mae neillduolion ei weithion mewn meddyliau ac arddull

yn tynu sylw cyffredinol Iuddewon a chenedloedd, ac y maent wedi cael eu huchel brisio yn mhob oes o'r byd.

Er fod nerth y bardd Ysprydoledig hwn wedi ei wanychu, ei fawrwychedd wedi ei leihau, a'i brydferthwch wedi ei golli i raddau helaeth, a'i syniadau, fe ddichon, wedi eu dirdynu wrth fyned drwy gynifer o wahanol ieithoedd a changen-ieithoedd, eto, yn ol fel y dywed Jerome, y mae yn parhau i dynu sylw dynion yn gyffredinol, ac ystyriant ef yn awenydd tra annghyffredin.

Dywed yr Esgob Lowth, ei fod wedi ei amwisgo mor ardderchog, fel mai priodol yw dywedyd mai efe yw y cynllun perffeithiaf o farddoniaeth brophwydol.

Y mae yn ddillynaidd, mawreddog, nerthol, addurnedig a darluniadol, ac yn amwisgiedig â phob ceinder barddonol.

Yn ei feddylrithiau, y mae arucheledd a mawreddusrwydd; yn ei ddarfelyddiad y mae y priodoldeb, y dillyni, yr urddas a'r amrywiaethiad tecaf a mwyaf dewisol. Y mae yn ei iaith fel pob prophwyd arall yn o dywyll weithiau, ond eto, rhagora arnynt oll mewn eglurder a symlrwydd, fel na phetrusa Jerome ei alw yn Bumed Efangylwr. Y mae yn fwy nerthol ceinwych ac amrywiaethog nag un o'r lleill, ac ynddo cydymgyferfydd eu holl brydferthion hwy.

Y mae yn dyner a llyfn, eto gwna i "seiliau y ddaiar grynu." Y mae "holl gyrau y ddaiar" yn clywed hyd yn nod ei "sibrwd," ac y mae ei feiddgarwch yn synu yr angelion.

Nid yw yn hoffi ehedeg rhyw lawer "goruwch y nefoedd," ac nid yw yn "marchogaeth llawer ar y cymylau," ac nid yw yn aros ond ychydig gyda'r ystormydd corwyntog, na'r mellt a'r taranau; nid yw yn cylchdroi llawer iawn gyda'r cyrff nefol yn yr ëangderau diderfyn, ac nid yw ychwaith yn crwydro drwy holl greadigaethau y Jehofah am eiriau cywrain ac ymchwyddgar; ond efe a'n dug i ganol y goedwig ysgwydiedig, gan wynt y nefoedd; efe a'n ceidw dan y winwydden a'r ffigysbren, i fwynhau gwin yn dyferu a ffigys irion addfed yn dis-

gyn. Dug ni i gyfeillach yr oen, y ddafad, yr ŷch, &c., brydiau eraill y mae yn ymddifyru yn yr ardd flodeu, a thyn lawer o nerth oddiwrth gedyrn gedrwydd Libanus.

Y mae yn dechreu ei lyfr gyda chyfarchiad bywiog a llym, a chyda bygythion o ddïal mawr, eto nid yw heb grybwyllion cysurus am drugaredd a hirymarosgarwch Duw, a dyfodiad y Messiah.

2. *Jeremiah.*—Yr oedd Jeremiah yn fardd nodedig, ac yn brophwyd cymeradwy o'r teulu offeiriadol. Ymddengys iddo ddechreu arllwys allan gynwys ei feddwl cynhyrfiedig pan yn ieuanc iawn. Pan ddeallodd ei fod i'w alw i fod yn brophwyd, ymesgusododd, gan ddywedyd, "O! Arglwydd Dduw, wele, ni fedraf ymadrodd, canys bachgen ydwyf fi." Ond efe dan ysprydoliaeth Duw, a brophwydodd yn erbyn breninoedd Juda, a bu fyw i weled dinystr Jerusalem gan y Caldeaid, a darostyngiad y genedl, a'i chaethgludiad i Babilon gan Nebuchodonozor yn nyddiau Zedeciah.

Dygwyd Jeremiah gyda'i frodyr caethiwus i'r Aipht, lle y prophwydodd yn llym yn erbyn eilunaddoliaeth, yr hyn yn ol hen draddodiad Iuddewig a gostiodd iddo dywydd garw iawn, ac yn y diwedd ferthyrdod yn Tahpanhes.

Ystyrir Jeremiah yn ail i Esaiah mewn teleidrwydd ac arucheledd, ond nid yw mor ddyrchafedig a mawreddog, ac y mae yn fwy gwasgaredig ac annghryno, yr hyn sydd yn dra chydweddol a bardd wedi ei orlanw gan bangfeydd o ofid a thrallod a galar enaid: ac i amlygu, a darlunio hyn, yr oedd iddo ddawn neillduol megys ag y prawf ei Alarnad ardderchog. Y mae y rhan gyntaf, a'r chwech pennod olaf yn farddonol, a'r canol nid yw ond rhyddiaith hanesiol. Yn niwedd y llyfr, y mae rhai darnau barddonol cyfartal i eiddo Esaiah. Yn Jeremiah y canfyddir gwyleidd-dra ac ymostyngeiddrwydd mawr, nid oedd am siarad yn ngwyddfod Duw.

3. *Galarnad Jeremiah.*—Gyda chwynfaniad colomenaidd yr egyr ei Alareb, "Pa fodd y mae y ddinas aml ei phobl yn eistedd ei hunan! pa fodd y mae y luosog yn mhlith y cenedl-

oedd megys yn weddw! pa fodd y mae tywysoges y taleithiau dan deyrnged! Y mae hi yn wylo yn hidl liw nos, ac y mae ei dagrau ar ei gruddiau, heb neb o'i holl gariadau yn ei chysuro; ei holl gyfeillion a fuant annghywir iddi, ac a aethant yn elynion iddi." Her i holl feirdd y byd, i arfer iaith mwy dewisol i osod allan yn well ddyfnder calon ofidus a thrallodus. Dywedir fod marwnad Blackwell i Esgob Heber yn mhell yn mlaen ar bob marwnad arall yn yr iaith Gymraeg, ond pe byddai pob bardd Cymreig, ïe, pob bardd Groegaidd, Rhufeinaidd a Seisnig yn Blackwell, byddai eu holl deithi galarnadol gyda'u gilydd yn mhell islaw bod yn gyfartal i'r Alareb Ysbrydoledig.

Y mae Jerusalem yn ei holl anwiredd a'i hannghyfanedddra yn gyfan-gwbl yn ei feddwl, a chyda llef wylofus y geilw arni i ystyried ei gariad tu ag ati, a'i ddagrau yn ei hachos. Darlunia ffyrdd Seion yn galaru o eisieu addolwyr yn yr uchelwyl arbenig; ei holl byrth hi sydd annghyfanedd, ei hoffeiriaid a ocheneidiant, ei morwynion sydd ofidus a hithau yn flin iawn arni. Yn y llinellau darluniadol uchod y mae prif elfen ac enaid barddoniaeth alarnadol. Pwy erioed a ddarluniodd ddinystr dinas, dirywiad crefydd, ac annghyfanedd-dra gwlad gyda'r fath liwiau trist a dyfnion. Cawn Solomon mewn amgylchiad, yn gweled "galarwyr yn myned o bob tu yn yr heol;" ond yn awr Jerusalem a ddiboblogir, fel y mae Jeremiah yn methu gweled na chlywed un galarwr; ond y mae yn clywed "ffyrdd Seion" yn tori allan gyda'u gilydd i alaru, am nad oedd yn y ddinas neb i gyflawni y gorchwyl. Y mae yn gweled eu holl byrth yn annghyfanedd-dra, nid oes yno lys na chynghor, na neb i anerch y gynulleidfa; nid oes gantor yn y Deml, ac ni chlywir swn cloch wrth wisg yr Archoffeiriad; ond clywir digon o uneneidiau Offeiriaid. Y mae darllen yr Alareb hon, yn ddigon i dynu'r dagrau o'n llygaid, megys ag y tynwyd dagrau o lygaid yr awdwr pan yn cyfansoddi yn nghanol y trychineb ofnadwy.

Galarnad, dyna yr enw a roddir i'r gân ryfeddol hon yn yr

Hebraeg, yn nghyfieithiad y deg-a-thri-ugain (*Septuagint*) a'r Vulgate. Myn rhai megys Josephus, Jerome, Junius, ac Usher, mai marwolaeth Josiah a achlysurodd cyfansoddi yr Alarnad hon; ond myn ereill megys Henry a Horne, mai dinystr Jerusalem gan y Caldeaid oedd, a bod hyny yn brofedig gan gydrediad geirweddol y gwaith. Yn y *Septuagint*, y mae y geiriau canlynol yn rhagymadrodd i'r gân: "A dygwyddodd ar ol caethiwed Israel, a bod Jerusalem yn annghyfanedd, i Jeremiah eistedd a galarnadu yr Alarnad hon uwch ben Jerusalem, gan ddywedyd, Yr oedd dinystr Jerusalem, anrhaith y ddinas Santaidd, a dirywiad cyffredinol y genedl yn amgylchiadau pwysig a difrifol iawn, ac y mae yr Alareb hon, fel pob peth arall a ddaeth oddiwrth Ysbrydoliaeth Duw, yn deilwng ac yn briodol i'r fath anffodion trychinebus."

4. *Ezeciel.*—Yr oedd y Prophwyd, a'r awenydd hwn, fel Jeremiah yn wr cysegredig o linach yr Offeiriaid, a chaethgludwyd ef i Babilon gan Nebuchodonozor yn nyddiau Jehoiacim Brenin Juda, lle y dechreuodd brophwydo ar lan afon Chebar, yr hon a arllwysai i'r Euphrates yn y Gogledd.

Y mae barddoniaeth Ezeciel, o ran ei arddull ychydig yn is nag eiddo Jeremiah, ac nid yw lawn mor dlws a thyner; ond y mae yn gyfartal iddo mewn arucheledd ond ei fod yn wahaniaethol. Y mae Ezeciel yn ddwfn, tanllyd a bygythiol, ei syniadau yn gyffröus, ac yn creu gradd o arswydedd yn meddwl yr ystyriol wrth eu darllen. Ar y cyfan, y mae yn uchel angerddol, llawn o dân bywiol, ac y mae yn dra digllawn wrth bob peth a feiir ganddo. Y mae ei arluniaeth (*imaginary*) yn rymus, bywiog, cyflawn ac ardderchog; ond weithiau braidd yn frawychus i'r chwaeth goethedig. Y mae ei iaith yn fawreddog, difrifol, gerwin, ac weithiau yn ddiaddurn, yr hyn a briodolir idd ei ysbryd sorus ac angerddol at annuwioldeb. Hefyd y mae yn o dywyll ac anhawdd ei ddeall, yn hyn a barodd i'r Iuddewon ei gadw oddiwrth bawb dan ddeg-arhugain oed.

Y mae Gratius a Lowth yn cyfartalu Homer ag Ezeciel;

ond nid boddlon iawn ydym i dderbyn yr athrawiaeth, na chyfaddef fod un bardd anysbrydoledig wedi dyfod i fyny ag ef.

Yn nechreu ei brophwydoliaeth y mae yn cael gweledigaeth arwydd-luniol ardderchog. Y mae Ysbrydoliaeth yn cymeryd meddiant cyflawn o hono, a thry ei holl feddwl, ei holl nerth, a'i holl enaid yn wasanaethgar iddo. Y mae yn gweled corwynt yn cyfodi gyda dysgleirdeb mawr; y mae yn gweled y pedair ymerodraeth fawr yn y pedwar peth byw, a phan y symudent eu hadenydd, yr oedd yn clywed swn "dyfroedd lawer," neu swn yr Hollalluog. Darlunia y cwbl gyda'r beiddgarwch dewraf, a'r prydferthwch mwyaf. Y mae ei draws-symudiadau yn nerthol ac effeithiol.

5. *Daniel.*—Nid yw Daniel mor farddonol a'r Prophwydi eraill. Y mae ei lyfr yn gyfansoddiad hanesiol, a'i neillduolion yw esmwythder a symlrwydd. Y mae ganddo rai darluniadau prydferth a throellog o'i weledigaethau. Priodolir ei ddyeithrwch i'r farddoniaeth Hebreig idd ei gaethgludiad i Babilon, ac i'r iaith yn mha un yr ysgrifenodd, yr hon oedd yn mhell islaw yr iaith Hebraeg mewn prydferthwch a choethder barddonol.

6. *Hosea.*—Y mae y llyfr hwn yn farddoniaeth odidog a goruchel, yn fyreiriog a diarebol, ond i raddau yn aneglur.

Nid yw ei gynwysiad mor ëang ag eiddo Esaiah, Jeremiah ac Ezeciel, ac nid yw fel Daniel ychwaith yn ymyraeth ag helyntion, cyfnewidiadau a chwildröadau ymerodraethau mawrion ac unbenaethol, ond ei wlad ei hun sydd yn cymeryd i fyny ei holl sylw, a rhagorfreintiau, troseddau a barnedigaethau y deg llwyth yw y pethau agosaf at ei galon. Eu pechodau a gynhyrfasant ei ddigllonedd santaidd, a'u cyflwr truenus a dynodd allan ymysgaroedd ei gariad; eu derchafiad a'u hadferiad i heddwch Duw oedd prif destyn ei feddylfryd. Y mae ei syniadau yn fywiog a chyflym, a'i iaith yn nerthol.

7. *Joel.*—Y mae cyfeiriad mwyaf uniongyrchol y Prophwyd hwn eto at Juda. Prif faich ei Brophwydoliaeth yw y cadymgyrch Caldeaidd yn erbyn y deg llwyth drwy yr arluniaeth

locustaidd. Hefyd y mae yn darlunio dinystr Jerusalem dan Titus Vespasian, rhagorfreintiau yr Efengyl, argyhoeddiad y genedl a'i dychweliad i'w gwlad, yn nghyda sefyllfa ogoneddus yr Eglwys yn niwedd amser.

Y mae arddull Joel yn rymus, ei iaith yn flodeuog a'i feddyliau yn nerthol, goleulawn a phrydferth. Y mae yn cymeryd golwg ëang ar bob peth, ac y mae ganddo gyflawnder iaith a meddyliau i wisgo y cwbl yn y modd mwyaf ysblenydd.

8. *Amos.*—Daeth y bugail hwn yn Israel i fod yn Brophwyd i'r Arglwydd, a chyfansoddai yn erbyn pechodau y genedl, cyhoeddodd ei dinystr, ac wedi hyny darluniai lwyddiant mawr teyrnas y Messiah.

Myn Jerome fod ieithwedd Amos braidd yn ddiaddurn, annghelfydd a gwael; ond yn ol Esgob Lowth, y mae mewn arucheledd a mawrwychedd meddyliol yn gyfartal i ereill o'r beirdd ysbrydoledig.

Yr un Duw a ysbrydolodd Amos yn y gorlan ag a ysbrydolodd Dafydd, Peraidd Ganiedydd Israel, ar yr orsedd. Y mae Amos wedi creu y delweddau mwyaf desgrifiadol, a thyn ei gydmariaethau ysblenydd ac ehediadol oddiwrth yr arferion a'r amgylchiadau mwyaf cyffredin a gwybyddus.

Y mae Amos drwy y fugeiliaeth wedi ymgynefino â symlrwydd gwladaidd, ac yn ei ofal am y praidd, wedi dysgu cydymdeimlo â'r tylawd gorthrymedig. Felly naturiol yw fod ei farddoniaeth yn brydyddiaeth fugeiliol.

9. *Obadiah.*—Nid yw Obadiah wedi cyfansoddi ond un bennod, ond y mae hono yn orlawn o geinion barddonol. Nid yw yn hirymdroi oddiamgylch ei destyn, nac yn crwydro oddiwrtho. Ei destyn yw dinystriad Edom, a llwyddiant Israel wedi hir adfyd. Y mae ar unwaith yn cyhoeddi rhyfel yn erbyn Edom, olrheinia achos ei dinystr, a dybena gyda sicrhau y freniniaeth yn eiddo yr Arglwydd.

10. *Jonah.*—Yn ol Esgob Loyd, dyma y Prophwyd henaf o'r holl Brophwydi sydd a llyfrau ar eu henwau. Nid oes

ganddo un ffigur dywell, nac un traws-symudiad ymadrodd dyrus na chywrain.

Y mae ei arddull yn syml a hanesyddol, oddigerth yr ail bennod, yr hon sydd Bryddest odidog, darluniadol a hawdd ei deall, yr hon a gyfansoddodd yr awdwr wedi y waredigaeth ryfeddol o fol y pysgodyn.

11. *Michah.*—Yr oedd y prophwyd hwn yn cydoesi âg Esaiah, Joel, Hosea ac Amos. Y mae ei arddull ar y cyfan yn eglur, nerthol, cyfeiriadol, geirfyr a chryno, ac y mae ganddo rai darnau bywiog, ardduniadol, ac yn wir farddonol. Arfer gyffredin y Prophwydi yw dechreu eu llyfrau yn fygythiol, ac yn y canol cyhoeddant addewidion gwerthfawr, ac yn y diwedd rhoddant flaenbrawf o'r mwynhad, ac yn hyn y mae y Prophwyd hwn yn rhagori ar y lleill oll.

12. *Nahum.*—Nid yw y llyfr hwn ond un Bryddest neu Awdl ardderchog mewn tair o bennodau, ac yn amlygu gallu darluniadol annghyffredin. Egyr ei Awdl gyda desgrifiad manwl a thlws o gyfiawnder, gallu a daioni Duw.

Y mae ei arddull yn rhagori ar eiddo yr holl Brophwydi lleiaf. Gorwychedd, gwresawgrwydd, ëofnder, ac ieithwedd bur yw ei ragoriaethau. Dywed un awdwr fod y gân hon yn berffeithiedig, ac yn brawf o feddwl diwylliedig.

13. *Habaccuc.*—Yr oedd y gwr hwn i Dduw yn gydoesydd â Jeremiah, ac yn byw yn ninystr Jerusalem gan y Caldeaid, ac y mae ysbryd ei gân yn tebygu i eiddo ei gydfardd adfydus. Y mae ei waith yn dra barddonol, yn enwedig y bennod olaf, yr hon a brawf fod yr awdwr yn meddu gallu ardderchog i eilweddu. Dywedir mai dyma yr engraifft oraf o farddoniaeth Hebrëig yn yr holl Ysgrythyrau.

14. *Zephaniah.*—Nid yw y Prophwyd hwn mor farddonol â'r lleill o'r beirdd cysegredig. Ei brif amcan yw ymosod ar bechodau a llygredigaeth yr oes. O ran ei arddull, y mae yn perthynu gan mwyaf i'r farddoniaeth dychanol *(satirical)*, ac yn ei ddull ymosodol cyhoeddodd ddinystr ar y cenedloedd amgylchynol.

15. *Haggai.*—Y mae llyfr Haggai, gan mwyaf, yn gyfansoddiad rhyddieithol, ond y mae yn fywiog a brwdfrydig; y mae ynddo rai darnau mawreddus yn cynnwys llawer o yni gwresog pan yn darlunio llwyddiant y Messiah, dymuniad y cenedloedd.

16. *Zechariah.*—Yr oedd y Prophwyd hwn yn gydoesydd ag Haggai, ac y mae ei amcan a'i destyn yn agos gyffelyb. Y mae ei waith yn rhyddieithol, oddigerth ychydig grybwyllion barddonol tra addurniedig a welir yn niwedd ei lyfr.

17. *Malachi.*—Y mae y Prophwyd hwn yn ganolig o farddonol, ond cystal ag y gellid dysgwyl dan yr amgylchiadau ag yr ydoedd yr awdwr danynt. Yr oedd Haggai, Zechariah a Malachi, yn dwyn nodweddion y llenoriaeth Hebrëig wedi y dychweliad o Babilon, yr hon oedd wedi syrthio yn llawer is na'r safon o herwydd y caethiwed blin a chymysgiad yr ieithoedd.

III. Nodiadau ar

1. *Gan Moses.*—Heblaw y Salm a gyfansoddodd Moses, gwelwn yn Exodus 15: 1—20, gân ardderchog ar ei enw wedi ei chyfansoddi wedi y waredigaeth ryfeddol o law Pharaoh, drwy ei foddi yn y Môr Coch. Dyma y gân henaf ar a wyddom am dani. Y mae yn gyfansoddiad tra rhyfeddol, o arddull uchel a mawreddus. Y mae ei delweddiad yn fywiog, a phob gair a syniad ynddi yn cynwys eu llon'd o briodoldeb. Y mae y gân o nodwedd arwrol, a darluniadol, ac wedi ei chysegru i Dduw, yn anrhydedd a moliant ar yr oruchafiaeth a gafodd Israel ar y gelyn a'i fyddinoedd erlidgar.

Ni welodd Ysbryd Duw yr un gân arall yn gystal a hon i'w rhoddi yn gynllun o'r gân orfoleddus, dragywyddol a genir gan y gwaredigion yn y Ganaan nefol. Os cymer y darllenydd y drafferth o ddarllen Ex. 15: 1—20, a Dat. 15, caiff weled fod y naill, i raddau pell, yn cyfateb i'r llall.

2. *Can Deborah a Barac.*—Y mae y gân hon yn golofn goffadwriaethol, ac yn anthem o fawl a diolchgarwch i Dduw

am fuddugoliaeth fawr a rhyfedd a gafodd Barac, gyda 10,000 o feibion Naphtali a Zabulon, ar fynydd Tabor, pan y rhoddodd yr Arglwydd Sisera a llu nerthol Jabin yn ei law ef, y mae y gân hon yn ddadblygiad naturiol iawn o orfoledd a llawenydd buddugoliaethol, ac yn gyfaddasol i'w chanu, er lledaenu, a dwyn ar gôf i'r oesau dyfodol y fuddugoliaeth anrhydeddus hon.

Y mae y gân hon yn dechreu gyda darluniad prydferth o'r fuddugoliaeth—cydnebydd ddoethineb a gallu Duw yn "dial dialeddau Israel" ar y gorthrymwyr. Y mae y cam mawr a gafodd pobl yr Arglwydd oddiar law y gelyn, am yspaid ugain mlynedd o amser, wedi cynhyrfu holl enaid Deborah.

Y mae y ddawn ysbrydoledig yn ei llawn nerth, nes gwneyd y syniadau yn fawreddog, aruchel a naturiol; a dywed Patrick nad oes un o'r beirdd Groegaidd na Rhufeinaidd wedi dyfod i fyny a'r gân hon.

3. *Can Hannah.*—Y mae y gân hon i'w gweled yn 1 Sam. 2: 1—11. Bendithiwyd Hannah anmhlantadwy â mab mewn atebiad i'w gweddi, yr hyn a barodd iddi ganu mor ragorol i fawrhau santeiddrwydd, doethineb, gallu a thrugaredd Duw.

Y mae y gân fer hon yn engraifft nodedig o ragoriaeth y farddoniaeth gysegredig ar y cyfansoddiadau goreu yn mhlith y beirdd cenedlig. Ynddi y cawn wir ardduniant, ac arucheledd godidocaf iaith. Ynddi y mae y glewder a'r beiddgarwch mwyaf teilwng a phriodol i arddull drawsymddwynol gwir farddoniaeth, ac ynddi hefyd y mae y profion amlycaf o dduwiolder.

4. *Can Mair.*—Y mae gan fam ein Hiachawdwr gân orfoleddus o'r orwychaf, wedi ei chyfansoddi yn ol rheolau y farddoniaeth Hebrëig. Detholiadau o weithion beirdd yr Hen Destament, Hannah yn benaf yw llawer o'r gân hon, yr hyn a brawf ar unwaith fod yr awdures yn gydnabyddus ag ysgrifeniadau ei henafiaid, ac o chwaeth ragorol o goethedig yn ei detholiadau.

5. *Can Zachariah.*—Achlysurwyd cyfansoddiad y gân hon

gan enedigaeth Ioan Fedyddiwr. Cân orfoleddus ydyw hon eto, wedi ei chyfansoddi yn ol yr un rheolau ag y cyfansoddodd Mair ei chân hithau.

6. *Can Simeon.*—Cyfansoddwyd y gân hon gan yr hen ŵr cyfiawn a duwiol uchod. Pan ddygwyd y "dyn bach" i'r deml, i'w gyflwyno, i'r Arglwydd, Simeon, trwy yr Ysbryd a aeth i fyny ar yr amser, ac a'i cymerodd yn ei freichiau, ac a ollyngodd allan ei syniadau am Dduw, yr hwn a addawodd na welai farwolaeth hyd oni ddelai y Messiah; ac am ei addfedrwydd ef ei hun i ymadael a'r byd wedi i'w lygaid weled ei "iachawdwriaeth;" ac am Grist, "goleuni i oleuo'r cenedloedd, a gogoniant ei bobl Israel," a hyny mewn cân fer, ond mawreddog, a llawn o dlysni. Y mae yn arllwys allan ei deimladau agos yn yr un geiriau â'r hen Jacob, yr hwn a ddywedai wedi iddo weled Joseph: "Byddwyf farw bellach wedi i mi weled dy wyneb." Ië, ac â llygad craffus a chyflym Esaiah y mae yn gweled "iachawdwriaeth Duw," a "goleuni y cenedloedd." Y mae y dyfniadau hyn yn profi gwybodaeth ëang Simeon, yn nghyda'i chwaeth ragorol yn eu dewisiad.

Bernir gan rai awduron fod y Simeon hwn yn fab i Hilel Fawr, ac yn Rabbi enwog a dysgedig, a bod Gamaliel, wrth draed yr hwn y dygwyd Paul i fyny wedi bod yn ddysgybl iddo, ac y mae y gân hon o'i eiddo, yn myned yn mhell i brofi ei fod yn rhyw un mawr yn Israel.

DIWEDD.

